# Act am vnffurfiad Gvveddi Gyffredin, a gwaſanaeth yn yr Eglwys, a miniſtriad y Sacramentau.



Lle yr ydoedd ar farwolaeth ein diweddar ardderchawg Arglwydd Brenin Edward y chweched, vnffurfwyd drefn ar gyffredin waſanaeth a gweddi, a miniſtriad y Sacramentau, Rhithiau, a defodau yn aros yn Eglwys Loegr, yr hon drefn a oſodaſid allan yn vn llyfr, a elwid, Llyfr gweddi gyffredin, a miniſtriad y Sacramentau, a Chynneddfau eraill a Ceremoniae yn Eglwys Loegr: wedi eu hawdurdodi drwy Act o Barliament wedi ei gynnal yn y bummed ar chweched flwyddyn o'n cynt ddywededic ardderchawg Arglwydd Frenin Edward y chweched, tituledic, Act am vnffurfiad ar Gyffredin weddi, a miniſtriad y Sacramentau, yr hon a repeliwyd, ac a gymmerwyd ymmaith drwy Act o Barliament yn y flwyddyn gyntaf o deyrnaſiad ein hardderchawg Arglwyddes Frenhines Mari, i fawr adfail dyledus anrhydedd Dduw, ac yn anghyſſur i broffeſſ-wyr gwirionedd Crefydd Criſt.

Enacter gan hynny drwy awdurdod y Parliament preſennol hwn, fod y ddywededic ſtatut o Ddirymiad, a phob dim cynnwyſedic ynddi o ran y dywededic lyfr yn vnic, a'r gwaſanaeth, a miniſtriad y Sacramentau, cynneddfau, a Ceremoniau cynnwyſedic neu oſodedic yn, neu gan y dywededic lyfr, yn wag, ac yn ddirym, o, a gwedi gwyl Genedigaeth S. Ioan Fedyddiwr neſaf yn dyfod. A bod y dywededic lyfr, a threfn y Gwaſanaeth, a miniſtriad y Sacramentau, cynneddfau a Ceremoniau, ynghyd a chyfnewidion, ac ychwanegion a ychwanegwyd ynddo, ac a oſſodwyd drwy yr ſtatut hon, yn ſefyll, ac yn bod, o'r ac wedi y ddywededic ffeſt o Enedigaeth Sanct Ioan Fedyddiwr mewn cyflawn rymm ac effect, yn ol tenur ac effect yr ſtatut hon: Er dim ar y ſydd yn y ddywededic ſtatut o ddirymmiad i'r gwrthwyneb.

A phellach enacter gan vchelder y Frenhines, ynghyd a chydſynniad yr Arglwyddi a Chyffredin, y rhai ydynt wedi ymgynnull i'r Parliament preſennol hwn, a chan awdurdod yr vn-rhyw, i bob vn, ac i gwbl o'r Gweinidogion ym-mhob Eglwys Gadeiriol, a phlwyfol neu mewn lle arall o fewn y Deyrnas hon o Loegr, Cymbru, ac ardaloedd y'r vn-rhyw, neu eraill o arglwyddiaethau y Frenhines, o'r ac wedi Gwyl Genedigaeth Sanct Ioan Fedyddiwr neſaf yn dyfod, fod yn rhwymedic i ddywedyd ac i arfer y Plygain, Goſper, gweinidogaeth Swpper yr Arglwydd, a miniſtriad pob vn o'r Sacramentau, a'i holl Gyffredin, a chyhoedd weddi, yn y cyfryw drefn a ffurf ac a adroddir yn y dywededic lyfr, felly wedi ei awdurdodi gan Barliament yn y dywededic bummed a'r chweched flwyddyn o deyrnaſiad Brenin Edward y chweched, gyd ag vn aralliad, neu anghwanegiad o ryw Lithon iw harfer ar bob Sul yn y flwyddyn, a ffurf y Letani wedi 'r arallu a'i gorrectio, a dwy ſentens yn vnic wedi 'r anghwanegu wrth ddelifro y Sacrament i'r Cymmunolion, ac nid arall, neu ym modd amgen. Ac o bydd i neb ryw Berſon, Vicar, neu arall ya Finiſter bynnac, a ddyle, neu a fydd iddo ganu, neu ddywedyd y weddi gyffredin, a goffawyd yn y dywededic lyfr, neu finiſtrio y Sacramentau, o, ac wedi Ffeſt Nadalic S. Ioan Fedyddi-wr neſaf yn dyfod, wrthod arferu y dywededic weddiau cyffredin, neu finiſtrio y Sacramentau yn y cyfryw Eglwys Gadeiriol, neu Eglwys blwyfol, neu leoedd eraill, ac y dyle efe finiſtrio yr vn rhyw, yn y cyfryw ffurf a threfn ac a adroddir, ac a ddatcenir yn y dywededic lyfr, a'i yn ewyllyſiol, neu o anhydynder (gan ſefyll yn hynny) arferu o ryw eraill gynneddfau a Ceremoniau, Trefn, ffurf neu wedd ar weinidogaeth Swpper yr Arglwydd ar gyhoedd neu yn ddirgel, a'i Plygain, Goſper, miniſtriad y Sacramentau, neu eraill weddiau ar oſteg, amgen nac yr adroddir ac a ddeclarir yn y dywededic lyfr (Gweddi ar oſteg yn a thrwy yr holl Act hon, a ddeallir yr hon y ſydd i eraill ddyfod i'w gwrando, ai yn Eglwyſau cyffredin, ai Capelau dirgel, ai Oratoriau, yr hon a elwir yn gyffredin Gwaſanaeth yr Eglwys) neu bregethu, declario, neu lefaru

dim

dim oll er dirymmio, neu ddryglu y dywededic Lyfr, neu ddim ar y sydd ynddo, neu ryw barth o honaw, a bod o hynny yn gyfraith-lawn farnedic, yn ol cyfreithiau y Deyrnas hon, trwy verdict deuddeng-wyr, neu trwy ei gyffes ei hun, neu trwy hynod eglurdab y weithred, efe a gyll ac a fforffetia i uchelrwydd y Frenhines, ei hetifeddion, a'i successoriaid, am ei gamwedd cyntaf, broffit ei holl renti ysprydawl neu bromosionau yn dyfod, neu yn cyfodi yn y flwyddyn nesaf ar ol ei gonuictiad: A bod hefyd i'r neb a gonuictier felly, sef am yr un rhyw gamwedd ddioddef carchar yspaid chwe-mis, heb bayl na maynprys. Ac i'r cyfryw un, wedi ei gonvictio un-waith am neb camwedd heiwydd y pethau a grybwyllwyd, os bydd iddo gwedi ei gonuictiad cyntaf, drachefn droseddu a bod o hynny yn y ffurf ddywededic yn gyfreith lawn wedi ei gonvictio, yna bod ir un rhyw ddyn am ei ail Camwedd ddioddef carchar hyd yspaid un flwyddyn gyfan, a hefyd bod ei ddepryfio Ipso facto, o'i holl bromosionau Ysprydol. A bod yn gyfreith-lawn i bob Patron, neu ddoni-wr yr holl, a phob un o'r promosionau ysprydol hynny, neu neb un o honynt, bresentio, neu golatio i'r un-rhyw, megis pe byddei y nebun, neu yr neb rhai yn troseddu felly wedi marw. Ac o bydd i neb un, neu i neb rhai yn ol ei gonuictio ddwy-waith yn y ffurf ragddywededic, droseddu yn erbyn neb un o'r rhagbwylledigion y drydedd waith, a bod o hynny yn y ffurf ragddywededic yn gyfreith-lawn wedi ei gonvictio, yna y neb a drosedddo felly, ac a gonfictier y drydedd waith, a ddepryfir Ipso facto, o'i holl bromosionau ysprydol, a hefyd gorfod iddo ddioddef carchar tra fyddo byw.

Ac os bydd y neb a drosedda, ac a gonuictier yn y ffurf rag ddywededic o blegit y premissen, heb rent iddo, ac heb gandddo bromosioneu ysprydol: Yna bod i'r un-rhyw wr hwnnw a drossedda felly, ac a gonvictier, am y trosedd cyntaf ddioddef carchar tros flwyddyn gwbl yn nesaf ar ol ei ddywededic gonfictiad, heb na bayl na mainprys. Ac os y cyfryw un, heb iddo ddim promosioneu ysprydol, wedi ei gonuictiad cyntaf, a drosedda trachefn mewn dim o blegid y premissen, ac yn y ffurf ddywededic yn gyfreithlawn a gonuicter o hynny, yna bod i'r cyfryw un hwnnw, am ei ail drosedd ddioddef carchar tra fyddo byw.

Ac fe a ordeiniwyd, ac a enactiwyd drwy yr awdurdod a ddywedpwyd uchod, o bydd i ryw un, neu ryw rai, pwybynnac, wedi y ddywededic wyl o Enedigaeth Joan Fedyddiwr nesaf yn dyfod, mewn un rhyw Enterlud, Chwareuon, Caniadau, Rhimmynnau, neu drwy araill eiriau agored, ddeclario neu ddywedyd dim ryw beth er diddyminiad, dipstyriad a dirmig ar yr un-rhyw lyfr, neu ddim a gynhwysir ynddo, neu neb rhan o honaw, neu drwy ffact agored, gweithred neu drwy fygythiau agored, gymmell neu beri, neu ryw fodd arall brocurio neu gymal neb Person, Vicar, neu Minister arall, mewn un Eglwys Gadeiriol, neu Eglwys blwyfol, neu mewn Capel, neu mewn un lle arall i ganu, neu i ddywedyd Gweddi gyffredin ac agored, neu i Ministrio un Sacrament, yn amgenach neu mewn gwedd arall a ffurf, nac a osodwyd yn y dywededic lyfr, neu drwy yr un o'r dywededic foddion, yn anghyfraithlawn rwystro, neu luddias i neb Person, Vicar neu Minister arall, mewn un Eglwys Cadeiriol, neu blwyfol, Capel, neu mewn un lle arall, i ganu neu ddywedyd Gweddi gyffredin ac agored, neu Ministrio y Sacramentau, neu neb o honynt, yn y cyfryw wedd a ffurf ac a grybwyllwyd yn y dywededic lyfr: Yna bod i bob rhyw un, wedi yn gyfreithlawn ei gonuictio o hynny, yn y ffurf ddywededic, fforffettio i'r Frenhines ein Goruchel Arglwyddes, ei hetifeddion, a'i successoriaid am y trosedd cyntaf, gan Mork.

Ac os bydd i ryw un, neu i ryw rai, a gonuictwyd un-waith am y cyfryw drosedd, droseddu trachefn yn erbyn neb un o'r troseddion diwethaf a adroddwyd, ac iddynt fod yn y ffurf ddywededic yn gyfreithlawn wedi eu conficio, Yna bod i'r un-rhyw un felly yn troseddu ac yn gonfictiedic, am yr ail drosedd fforffettio i'n Goruchel Arglwyddes Frenhines, ei hetifeddion, a'i successoriaid bedwar cant o forciau. Ac o bydd i neb, wedi iddo yn y ffurf ddywededic fod ddwy-waith yn gonfictiedic o neb trosedd yn perthynu i'r troseddiō diwethaf a adroddwyd, droseddu y drydedd waith, a bod o hynny, yn y ffurf uchod, yn gyfreithlus wedi ei gonfictio: bod yna i bob un yn trosseddu felly, am ei drydedd drosedd fforffettio i'n Goruchel Arglwyddes Frenhines ei holl dda a chateloedd, a dioddef carchar yn ei fyw. Ac o bydd i ryw un, neu i ryw rai, yr hwn am ei drosedd cyntaf o herwydd y premissen gael ei gōfictio yn y ffurf ddywededic, na thalo y swm taladwy o rym ei gonfictiad, yn y cyfryw wedd a ffurf ac y dirper talu yr un-rhyw, o fewn chwech wythnos nesaf ynol ei gonfictiaid, bod yna i bob un a gōficter felly, ac heb dalu yr un-rhyw, am y trosedd cyntaf, yn lle y swmm dywededic, ddioddef ei garcharu dros yspaid chwe-mis, heb bayl na maynprys. Ac o

bydd

bydd i ryw vn,neu i ryw rai,yr hwn am yr ail drosedd herwydd y premissen,a gõfictier yn y ffurf ddywededic,na thalo y swmm ddywededic taladwy drwy rym ei gõfictiad, a'r Statut hon yn y cyfryw wedd a ffurf ag y dyleir talu yr vn-rhyw, o fewn chwech wythnos cyntaf ar ol ei ail confictiad: bod yna i bob rhyw vn felly a gonfictiwyd, ac heb felly talu yr vn-rhyw, am yr vnrhyw ail drosedd yn lle y dywededic swmm, gael dioddef ei garcharu yspaid 12. mis, heb na bayl na maynpris. Ac oddi-wrth,ac wedi y dywededic ffest Natalic Sanct Ioan Fedyddi-wr nesaf yn dyfod fod i bawb oll yngwbl,ar y sydd yn preswylio o fewn y deyrnas hon neu le arall o arglwyddiaethau Mawredd y Frenhines yn ddiescaelus,ac yn ffydd-lawn,oddi eithr bod escus cyfreithiol a rhesymmol i fod ymaith, ymddarparu i fynychu iw Heglwys blwyf,neu Gapel desodedic,neu o ran rhwystr resymmol rhag hynny,i ryw fan arferedic, lle y byddo Gweddi gyffredin, a chyfryw wasanaeth Duw yn arferedic, yn y cyfryw amser rhwystr, ar bob Sul a dyddiau eraill ordinedic ac arferedic iw cadw megis yn wilian: ac yna, ac yno aros yn drefnus, ac yn bwyllog ar hyd amser y weddi gyffredin, pregethau neu arall Wasanaeth Duw, a arferer, neu a finistrer yno, dan boen poenedigaeth gan Censurau yr Eglwys, a hefyd dan boen, fod i bob vn yn troseddu felly fforffettio am bob cyfryw drosedd ddeuddec cenniog iw codi o'r wardeiniaid yn yr Eglwys y gwneler y cyfryw drosedd, i fwyniant y tlodion o'r vn-rhyw blwyf, o dda, tiroedd, a thyddynnau y cyfryw drosedd-wr, drwy ffordd atafael. Ac er mwyn iawn gyflawni y pethau hyn, y mae rhagorawl Fawredd y Frenhines, yr Arglwyddi temporal, a'r holl gyffredin cynnulledic yn y Parliament presennol, yn Enw Duw yn ddifrifol yn erchi,ac yn gorchymyn i'r holl Arch-escobion, Escobion, ac eraill Ordinariaid, ar iddynt ymosod hyd yr eithaf o'u gwybodaeth ar fod y dyledus a'r gwir gyflawniad o'r pethen hyn yn gwbl trwy eu holl Escobaethau, a'u Curiau, fel y byddo iddynt atteb ger bron Duw, am gyfryw ddrygau a phlaau, a'r rhai y gall yr holl-gyfoethog Dduw yn gyfiawn boeni ei bobl, am ddirmygu ei ddaionus a'i iachus Gyfraith. Ac er awdurdod yn yr achos hyn, Bydded ym mhellach enactiedic gan y ddywededic awdurdod, fod i bawb oll o'r Arch-escobion, Escobion, a phawb eraill o'u swyddogion hwy, yn arfern Eglwysic feddiant,yn gystal mewn lleoedd esempt ac anesempt o fewn eu hescobaethau, gael llawn feddiant ac awdurdod gan yr Act hon i adffurfio, cospi, a phoeni wrth Censurau yr Eglwys, oll a phob dyn a droseddant o fewn yr vn o'u swyddogaethau, neu o'u hescobaethau hwynt, wedi y dywededic ffest Nadalic Sanct Ioan Fedyddi-wr nesaf yn dyfod yn erbyn yr Act hon ac Statut: Er neb arall gyfraith, Statut, Priffleg, braint, neu ragweliad cyn na hyn yn wneuthuredic, caffaeliedic, neu ddioddefedic i'r gwrthwyneb yn ddiwrthladd.

Ac fe a ordeiniwyd ac a enactiwyd gan y rhacddywededic awdurdod, bod i bawb oll o'r Iustusiaid Oyer a Determiner, neu Iustusiaid Assis gael cwbl feddiant ac awdurdod ym-mhob vn o'u agored, a'u cyfredin Sessionau, i ymofyn, gwrando, a therfynu pob rhyw drossedd a gommittier, neu a wneler yng-wrthwyneb i vn bann a gynhwyser yn yr Act gyndrychiol hon, o fewn terfynau y Commissiwn a roddir iddynt,a gwneuthur process i esecutio yr vn-rhyw,megis ag y gallant wneuthur am neb vn a enditier ger eu bron hwy am sarhaed,neu yn gyfreithlawn a gonfictiwyd o hynny.

Profidier yn wastad,ac enacter gan yr awdurdod ddywededic, fod i bawb oll o'r Archescobion,ac Escobion allu bob amser ac amserau wrth eirydd-did a'i fodd,ymwascu ac ymgyssylltu, gan rym yr Act hon,a'r dywededic Iustusieid o Oyer a Determiner,neu a'r dywededic Iustusiaid o Assis, ym mhob vn o'r dywededic agoret a chyffredin Sessiwnau cynnaliadwy mewn neb rhyw le o'i Escobaeth, er,ac i ymofyn,gwrando a therfynu y camweddau dywededic.

Profidier hefyd,ac Enactier trwy yr awdurdod ragddywededic, bod y llyfrau y sy o'r dywededic wasanaeth ar gost a siars plwyfolion pob plwyf ac Eglwysau Cadeiriol,yn ddarparedic ac wedi eu caffael cyn y dywededic ffest Natalic Ioan Fedyddi-wr nesaf yn canlyn, a bod i'r holl gyfryw blwyfeu ac Eglwysi Cadeiriol neu leoedd eraill,lle y darparer,ac y caffer y dywededic lyfrau cyn ffest Nadalic Sanct Ioan Fedydd-wr o fewn tair wythnos wedi darpara chaffael y dywededic lyfrau, ymarfer o'r dywededic wasanaeth, a'i fynychu yn ol yr act hon.

Ac enactier ym-mhellach wrth yr awdurdod ddywededic, na byddo vn amser rhag llaw,rhwystro neb-vn, neu neb rhai, nac ymmodd arall ei folestu, neu am neb o'r camweddau a gofiwyd vchod, a gommittier neu a wneler rhag llaw, yng-wrthwyneb i'r Act hon,oddi eithr iddo ef, neu hwynt yn troseddu felly,fod o hynny yn ditiedic yn y Sessiwn gyffredin nessaf, cynnaliadwy ger bron y cyfryw Iustusiaid

o Oyer

o Oyer a Determiner, neu Iustusiaid o Assis, yn nesaf yn ol committio rhyw drosedd yng-wrthwyneb i Denor yr Act hon.

Profidier yn wastad, ac ordeinier, ac enactier trwy yr awdurdod ragddywededic am gwbl oll o Arglwyddi o'r Parliament, am y drydedd drosedd a goffwyd uchod, bod eu treio hwy trwy eu pirieid.

Profidier hefyd, ac ordeinier, ac enacter gan yr awdurdod ragddywededic, fod i Faior Llundain, ac i Faiorau eraill, Bailiaid a phenswyddogion eraill, o bawb oll o'r dinasoedd, Borouchen, a Threfi corphoredic o fewn y deyrnas hon, Cymru, a marsoedd yr un-rhyw, i'r rhai nid yw Iustusiaid o Assis yn cyrchu yn gyffredin, gaffael cwbl feddiant ac awdurdod gan rinwedd yr Act hon, i ymofyn, gwrando a therfynu y troseddau a ddywedpwyd uchod, a phob un o honynt yn flynyddawl, o fewn pymtheng-nhiwrnod wedi ffest y Pasc, a Sanct Michael Archangel, yn y cyfryw fodd, a ffurf ag y mae yr Iustusiaid o Assis, ac o Oyer a Determiner yn gallu gwneuthur.

Profidier yn wastad, ac ordeinier, ac enactier trwy y ragddywededic awdurdod, fod i'r holl, ac i bob Archescob ac Escob, a phob un o'u Canghell-wyr, Commissariaid, Archddiaconiaid ac eraill Ordinariaid, y rhai sy iddynt ohanredawl swyddogaeth Eglwysic, gael cwbl feddiant ac awdurdod trwy rym yr Act hon yn gystal i ymofyn yn eu Visitasion, Seneddau, neu mewn lle arall o fewn eu swyddogaeth ar ryw amser arall a lle, i gymmeryd cyhuddiadau ac informasiwnau am oll, a chwbl a goffawyd ucho, a wnaethpwyd, a gommittiwyd, neu a berpetratiwyd o fewn terfynau eu swyddogaethau au hawdurdod, ac i boeni yr un-rhyw trwy rybudd, escymmundod, secwestrasion, neu ddepreifasion, ac eraill Censurau a phrosessau, yn y cyfryw ffurf ag ym-mlaen llaw a arferwyd yn y cyffelyb ddigwyddion gan Eglwysic gyfreithiau y Frenhines.

Profidier hefyd yn wastad ac enactier, bod i bawb pwy bynnac a droseddo yn y premissau, ac yn gyntaf a dderbynnio gospedigaeth gan yr Ordinari a thestiolaeth ganddo o hynny tann sel y dywededic Ordinari, Na byddo am yr un drosedd ei ail conficto ger bron yr Iustusiaid. A'r un modd, ac efe yn derbyn am y dywededic drosedd yn gyntaf boen gan yr Iustusiaid, ni bydd iddo am yr un trosedd ail derbyn poen gan yr Ordinari: heb fod dim a gynhwysir yn yr Act hon i'r gwrth-wyneb, yn sefyll.

Profidier yn wastad, a bid yn actiedic, bod y cyfryw addurnau yr Eglwys a'i Gweinidogion, iw hattal a'u cadw yn arfer, fel yr oedd yn yr Eglwys. hon o Loegr drwy awdurdod Parliament, yn yr ail flwyddyn o deyrnasiad Brenin Edward y chweched, hyd oni gymmerer trefn arall yn hynny gan awdurdod Mawredd y y Frenhines, yng-hyd a chyngor ei Chommissionariaid, gosodedic ac awdurdodedic dan insel fawr Loegr, am achosion Eglwysic, neu sel Metropolitan y Deyrnas hon. A hefyd o damwain arferu rhyw ddirmyg neu ammarch yn Ceremoniau a chynneddfau yr Eglwys, gan gamarfer y trefnau a ossodwyd yn y llyfr hwn: bod i Orucheldab y Frenhines allu trwy gyngor y dywededic Gommissionariaid, neu yr Metropolitan, ordeinio, a chyhoeddi y cyfryw anghwaneg Ceremoniau neu gynneddfau ar a fyddont fwyaf er derchafiad gogoniant Duw, adailad ei Eglwys, a dyledus barch ar sanctaidd ddirgeledigaethau Crist, a'i Sacramentau.

Ac ym-mhellach enacter gan yr awdurdod ragddywededic fod holl gyfreithiau, statutau ac ordinadau yn y rhai, ne drwy yr rhai y mae rhyw fath wasanaeth arall, ministriad y Sacramentau, neu Gyffredin weddi wedi eu terfynu, eu cadarnhau, neu eu gosod allan iw harferu o fewn y Deyrnas hon, neu arall o arglwyddiaethau, neu wledydd y Frenhines, o hyn allan yn llwyr weigion, ac heb ddim grym.

Act

# Act am gyfieithiad y Beibl, a'r Llyfr Gweddi gyffredin i'r iaith Gamber-aeg, yr hon a wnaed yn y bummed flwyddyn o deyrnasiad ein grasusaf Arglwyddes Frenhines Elizabeth. 1563.



Le y darfu i arddercho caf Fawrhydi y
Frenhines, fel duwiolaf a rhinweddolaf
dywysog (o flaen dim yn edrych ac yn ysty-
ried anrhydedd, a gogoniant Duw, ac ie-
chydwriaeth eneidiau ei deiliaid) yn y flwy-
ddyn gyntaf o'i theyrnasiad drwy awdur-
dod ei goruchel lys o Barliament, wedi
ei alw yn bennaf o'r achos hynny; osod allan
Lyfr Gweddi gyffredin, a threfn gweinido-
gaeth y Sacramentau yn yr iaith Saeson-aeg, i'w arferu trwy ei
holl deyrnas o Loegr, Cymru, a'u hardaloedd; megis felly y galle
annwyl ddeiliaid ei Goruchder hi (gan ddeall yn eu tafod-iaith eu hu-
nain yr aruthrol a'r ofnadwy fygythiau a draethir yn Llyfr Duw yn
erbyn yr enwir, a'r drwg-weithredwyr, a'r hyfryd a'r didwyll adde-
widion a wnaethpwyd i'r etholedig a'r ddewisedig gynnulleidfa, gyd
ag iawn drefn i reoli ac i arwain eu buchedd yn ol gorchymynnion
Duw) yn well o lawer ddyscu caru, ac ofni Duw, a gwasanaethu
ac ufyddhau eu tywysog, ac adnabod eu dyled tu ac at eu cymydogion.
Yr hwn lyfr a dderbyniwyd megis annwyl-dlws gwerth-fawr, a
llawenydd an-nrhaethadwy gan gymmifer oll o'i deiliaid hi ac a oe-
ddynt neu ydynt yn deall y Saeson-aeg, yr hon iaith nid ydys yn ei
deall gan y rhan fwyaf o nifer holl annwyl ac ufyddion ddeiliaid ei
Mawrhydi hi, y rhai ydynt yn preswylio o fewn llywodraeth ei go-
ruchder hi yngwlad Gymru, yr hon nid yw ran fechan o'r deyrnas
hon, y rhai gan hynny ydynt yn llwyr ymddifaid o sanctaidd air Duw,
ac ydynt yn arhos yn y cyffelyb, neu yn hytrach mewn mwy tywy-
llni ac anwybodaeth nag yr oeddynt yn amser Pabaidd grefydd. En-
acter gan hynny gan ein harddercho g Arglwyddes Frenhines, a'r
Arglwyddi ysprydol a llygol, a'r cyffredin sy wedi ymgasclu yn y
Parliament presennol hwn, a thrwy awdurdod yr un-rhyw, bod i'r
Escobion o Henfforddd, Dewi, Elwy, Bangor a Llandaf a'u Suc-
cessoriaid gymmeryd y cyfryw drefn yn eu plith eu hunain am iechy-
dwriaeth eneidiau y cynnulleidfaoedd a orchymmynnwyd tan eu

gofal

gofal hwynt o fewn Cymru, fel y byddo 'r holl Beibl yn cynnwys y Testament newydd a'r hen, gyd a'r Llyfr Gweddi gyffredin a gweinidogaeth y Sacramentau megis yr awrhon yr arferir yn Saeson-aeg yn y deyrnas hon, wedi eu cyfiaithu yn gywir ac yn ddyfal yn iaith y Brutaniaid a'r Cymru, a bod y rhai hyn (wedi eu cyfiaithu felly ganddynt hwy, ac wedi eu darolygu eu hystyried a'u happrwfo) yn brintiedig hyd ynghyfryw nifer o'r lleiaf, fel y byddo i'w cael o'r ddeuryw vn i bob Eglwys Gadeiriol, Colegiat, a phlwyfol, a chappel o esmwythdra, yn y cyfryw lcoedd a gwledydd o'r dywededig Escobaethau lle yr ydys yn dywedyd neu yn arferu yr iaith honno yn gyffredin; o flaen y dydd cyntaf o Fawrth, yr hwn fydd yn y flwyddyn o oedran ein Harglwydd Dduw M.D.lxvi: a bod o'r dydd hwnnw allan arferu a dywedyd holl wasanaeth Duw gan y Curadiaid a'r Gweinidogion yn iaith y Brutaniaid a'r Cymru trwy 'r holl ddywededic Escobaethau, lle yr ydys yn gyffredinol yn arferu y Gamber-aeg, yn y cyfryw ddull a modd ac yr ydys yr awr hon yn ei arfer yn Saeson-aeg, ac heb ddim amrafael rhyngtho a'r Llyfr Saeson-aeg mewn trefn a ffurf. Am y rhyw lyfrau felly wedi eu printio y plwyfolion o bob rhai o'r plwyfydd hynny a dalant y naill hanner, a'r Person, a'r Ficar o bob vn o'r plwyfydd hynny, lle byddo y ddau, neu 'r naill o honynt lle ni bo ond vn, a dalant yr hanner arall. Gwerth y rhyw lyfrau a ddognir ac a appwyntir gan y dywededig Escobion a'u Successoriaid, neu gan dri o honynt o'r lleiaf. Yr hyn bethau os y rhag-ddywededig Escobion a'u Successoriaid a esceulusant eu gwneuthud, yna bod i bob vn o honynt fforffettio i Fawrhydi y Frenhines ei hetifeddion a'i Successoriaid y swm o ddeugain punt, i'w codi ac i'w cymmeryd o'u da ac o'u catteloedd. Enacter ym-mhellach drwy y rhag-ddywededig awdurdod i bob Gweinidog a Churad o fewn yr Escobaethau vchod lle yr arferir y Gamber-aeg yn gyffredin (o, a chwedi Gwyl y Sul-gwyn nesaf yn canlyn hyd y dywededig ddydd cyntaf o Fawrth yr hwn fydd yn y flwyddyn o oedran ein Harglwydd Dduw 1566) bob amser ddeclario a darllen yr Epistol a'r Efengyl o'r dydd yn Gamber-aeg i'w blwyfolion ym-mhob vn o'r dywededig Eglwysi neu Gappelau: a hefyd fod iddynt vn-waith yn yr wythnos o'r lleiaf ddarllen a datcan yn Gamber-aeg i'w plwyfolion yn y dywededig Eglwysi, Weddi 'r Arglwydd, Pyngciau y ffydd Gristionogawl, y Deg gorchymmyn, a'r Letani, megis y maent wedi eu gosod allan yn Saeson-aeg, gyd a chyfryw ran arall o'r Weddi gyffredin a'r Dwywol wasanaeth,

wasanaeth, megis ac yr appwyntier gan Escob yr Escobaeth tros yr amser presennol. Cydnabydder er hynny bob amser ac enacter trwy 'r awdurdod ddywededig bod prynu a chael vn llyfr yn cynnwys y Beibl, a llyfr arall o'r weddi gyffredin yn Saeson-aeg ymmhob Eglwys trwy Gymru, lle y gorfydd cael hefyd y Beibl a'r llyfr Gweddi gyffredin yn Gamber-aeg trwy rym yr Act hon (onid oes yno rai eusys) cyn y dydd cyntaf o Fawrth yr hwn fydd yn oedran yr Arglwydd 1566. A bod y llyfrau hyn yn arhos mewn cyfryw leoedd cymmwys yn yr Eglwysi hynny, fel y gallo pawb o'r a'u deallo hwynt gynniwer attynt, ac fel y gallo hefyd y rhai ni ddeallant yr iaith honn wrth gyd-ystyried y ddwy-iaith ddyfod yn gynt i wybodaeth y Saeson-aeg; er dim a'r y sy yn yr Act hon i'r gwrth-wyneb.



| | | | |
|---|---|---|---|
| Septuagesima. | cyn Pasc. | ix | wythnos. |
| Sexagesima. | | viii | |
| Quinquagesima. | | vii | |
| Quadragesima. | | vi | |

| | | | |
|---|---|---|---|
| Wythnos y gwe-Sul-gwyn. (ddieu. | wedi Pasc. | v | wythnos. |
| | | vii | |
| Sul y Drintod. | | viii | |



# Y drefn ym-mha le yr arferir, ac y dywedir y Boreuawl a'r *Pyrnhawnawl weddi.*

Y Boreuawl a'r Pyrnhawnawl weddi a arferir yn y defodic le o'r Eglwys, Capel, neu Gangell; oddi eithr i'r Ordinari derfynu yn amgenach am y lle. A bod y Corau yn aros megis ydd oeddynt yr amser a aeth.

A bid honeit hyn yma, i'r Gwenidog ar bryd Cymmun, ac ar bob pryd arall ymarfer o gyfryw wiscoedd, neu addurne yn yr Eglwys ac a oeddynt mewn arfer herwydd awdurdod y Parliament yr ail flwyddyn o deyrnasiad Brenin Edward y chweched yn yr Act o Barliament osodedic yn nechreu y llyfr hwn.

## Trefn am weddi foreuol bob dydd *trwy 'r flwyddyn.*

Ar ddechreu y weddi foreuol, ac yr vn ffunyd ar y weddi Bryd-nhawnol, darllenet y Gwenidog â llef vchel rai o'r synhwyreu hyn o'r Scrythur lân, y rhai ydynt yn canlyn. Ac yno dywedet yr hyn sydd scrifennedic ar eu hôl.



**Pa bryd bynnac y bo yn edifar gan bechadur ei bechod o ddyfnder ei galon, mi a ollyngaf tros gof yr holl enwiredd a'r a wnaeth ef, medd yr Arglwydd.** Ezec.18.

**Ydd wyf yn cydnabod fy enwiredd, a'm pechod sydd yn wastad yn fy erbyn.** Psal.51.

A Ymchwel

Psal.51. Ymchwel dy wyneb oddi-wrth fy-mhechodau, Arglwydd, a dilêa fy holl gamweddau.

Psal.51. Yspryd cystuddiedic y sydd aberth i Dduw, na thremyga Arglwydd Dduw galonau vfydd cystuddedig.

Iocl.2. Rhwygwch eich calonnau, ac nid eich dillad, ac Ymchwelwch at yr Arglwydd eich Duw, canys tirion a thrugarog ydyw, efe sydd ddioddefgar a mawr ei drugaredd, a chyfryw vn ac sydd ofidus gandddo dros eich blinder.

Dan.9. Ti Arglwydd bieu tosturi a maddeuaint, canys aethom Ymaith oddi-wrthit ac ni wrandawsom ar dy leferydd, modd y gallem rodio yn dy gyfreithieu y rhai a osodaist i ni.

Ierem. 10. Cospa ni Arglwydd, ac etto yn dy farn nid yn dy gynddaredd, rhac na bo dim mwy o honom.

Mat.3. Gwellhewch eich buchedd, canys bod teyrnas Dduw yn agos.

Luc.15. Mi a âf at fy-Nhâd, ac a ddywedaf wrtho: fy-Nhâd mi a bechais yn erbyn y nefoedd, ac yn dy erbym di, ac mwyach nid wyf deilwng i'm galw yn fâb iti.

Psal.143. Na ddwg i'r farn dy weision, Arglwydd, can nad byw neb cyfiawn yn dy olwg di.

1.Ioan.1. Os dywedwn ein bod heb pechod, ydd ŷm yn ein twyllo ein hunain, ac nid oes wirionedd ynom.

FYanwyl gariadus frodyr, y mae yr Scrythur lân yn ein cynhyrfu mewn amrafael fannau, i gydnabod ac i gyffessu ein aml bechodau a'n anwiredd, ac na wnelem nai cuddio nai cêlû yng-wydd yr Hollalluog Dduw ein Tâd nefol, eithr eu cyffessu â gostyngedic, isel, edifarus, ac vfydd galon, er mwyn caffael o honom faddeuaint am danynt trwy ei anfeidrol ddaioni a'i drugaredd ef. A chyd dylem ni bob amser addef yn ostyngedic ein pechodau ger bron Duw: Etto ni a ddylem yn bennaf wneuthur hynny

ny pan ymgynhullom i gyd-gyfarfod, i dalu diolch am yr aml ddaioni a dderbyniasom ar ei law ef, i ddatcan ei haeddedicaf foliant, i wrando ei sanctaiddiaf air ef, ac i erchi y cyfryw bethau ac a fyddo cymmwys ac anghenrheidiol, yn gystal ar lês y corph a'r enaid. O herwydd paham mysi a erfyniaf ac a atolygaf i chwi, cynnifer ac y sydd yma yn bressennol, gyd-tuno â mysi, â chalon bûr, ac â lleferydd ostyngedic, hyd yng-orseddfa y nefol râd, gan ddywedyd ar fy ôl i.

Cyffes gyffredin iw dywedyd gan yr holl gynnulleidfa ar ôl y Gwenidog, gan ostwng ar eu gliniau.

HOll alluog Dduw, a thrugarocaf Dâd, Ni a aethom ar gyfeiliorn allan o'th ffyrdd di, fel defaid ar gyfrgoll; Nyni a ddilynasom ormodd ar amcaniō, a chwantau ein calonnau ein hunain; Nyni a wnaethom yn erbyn dy sancteiddiol gyfreithiau: Nyni a adawsom heb wneuthud y pethau, a ddylesem eu gwneuthur; ac a wnaethom y pethau ni ddylesem eu gwneuthur: Ac nid oes iechyd ynom, Eithr tydi ô Arglwydd, cymmer drugaredd arnom ddrwg-weithred-wŷr truain: Arbet ti hwyntwy, o Dduw, y rhai sy yn cyffessu eu beiau. Cyweiria di y sawl y sydd yn edifarus; yn ôl dy addewidiō a espyssiwyd i ddŷn, yng-Hrist Jesu ein Harglwydd. A chaniattâ drugarocaf Dâd er ei fwyn ef, fyw o honom rhac llaw; mewn duwiol, vnion, a sobr fuchedd, i ogoniant dy sancteiddiol Enw: Amen.

Y Gollyngdod iw datcan gan y gwenidog yn vnic.

YR Holl-Alluog Dduw, Tâd ein Harglwydd Jesu Grist, yr hwn ni ddeisyf farwolaeth pechadur, eithr yn hyttrach ymchwelyd o honaw oddi wrth ei anwiredd, a byw: ac a roddes allu a gorchymyn iw

 wenidogion

wenidogion, i ddeclario a mynegu i'w bobl sydd yn edifarus, absolusion a maddeuaint am eu pechodau: Efe a bardyna, ac a ollwng hwynt wy oll y sy wir edifeiriol, ac yn ddiffuant yn credu i'w sancteiddiol Efangel ef. Herwydd pa ham nyni a attolygwn iddo ganiadtau i ni wir edifeirwch, a'i Yspryd glân, fel y byddo boddlon ganddo y pethau ydd ydym y pryd hyn yn eu gwneuthur, a bod y darn arall o'n bywyd rhacllaw yn bûr, ac yn sancteiddiol, megis y dêlom o'r diwedd i'w lawenydd tragywyddol, trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

Attebed y bobl, Amen.

Yna y dechreu y Gwenidog weddi yr Arglwydd â llef vchel.

Ein Tâd yr hwn wyt yn y nefoedd, sancteiddier dy Enw: Deuet dy deyrnas: Bid dy ewyllys ar y ddaiar megis y mae yn y nefoedd: Dyro i ni heddyw ein bara beunyddiol. A maddeu i ni ein dyledion fel y maddeuwn ni i'n dyled-wŷr. Ac nac arwain ni i brofedigaeth: Eithr gwaret ni rhag drwg: Amen.

Y Gwenidog yn yr vn lleferydd a ddyweid.

Arglwydd agor ein gwefusau.

Atteb.

A'n geneu a fynega dy foliant.

Offeiriad.

Duw brysia i'n cynnorthwyo.

Atteb.

Arglwydd prysura i'n cymmorth.

Offeiriad.

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Yspryd glân.

Megis yr oedd yn y dechreu, y mae yr awr hon, ac y bydd yn oes oessoedd. Amen.

Molwch yr Arglwydd.

Yna

Yna y dywedir, neu y cênir y psalm sy'n canlyn.

Deuwch, canwn i'r Arglwydd: ymlawenhawn yn nerth ein hiechyd. Venite exultemus Domino. Psal. 95.

Deuwn ger ei fron ef â diolch: canwn yn llafar iddo Psalmau.

Canys yr Arglwydd sydd Dduw mawr: a Brenin mawr ar yr holl dduwiau.

Oblegyt yn ei law ef y mae gorddyfnder y ddaiar: ac ef biau vchelder y mynyddoedd.

Y môr sydd eiddo, canys efe a'i gwnaeth: a'i ddwylaw a luniasant y sych-dir.

Deuwch addolwn, ac syrthiwn i lawr, a gostyngwn ger bron yr Arglwydd ein gwneuthur-wr.

Canys efe yw ein Duw ni: a ninne ŷm bobl ei borfa ef, a defeid ei ddwylaw.

Heddyw o gwrandewch ar ei leferydd, na chaledwch eich calonnau: megis yn yr ymrysonfa, fel yn nydd profedigaeth yn yr anialwch.

Lle y temptiodd eich tadau fi, y profâsant fi, a gwelsant fyng-weithredoedd.

Deugain mhlynedd yr ymrysonais â'r genhedlaeth hon, a dywedais, pobl gyfeiliornus yn eu calonnau ydynt hwy: canys nid adnabuant fy ffyrdd.

Wrth y rhai y tyngais yn fy llid: na ddelent i'm gorphwysfa.

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Yspryd glân:

Megis yr oedd yn y dechreu, y mae yr awr hon, ac y bydd yn oes oesoedd. Amen.

Yn ôl hyn y dilyn ryw Psalmau mewn trefn, megis yr appwyntiwyd hwy yn y tabul a wnaethbwyd er mwyn hynny; oddieithr bod Psalmau priawd i'r diwrnod hwnnw. Ac ar ddiwedd pob Psalm drwy yr flwyddyn, a'r vn modd ar ddiwedd *Benedictus*, *Benedicite*, *Magnificat*, a *Nunc dimittis*, *y dywedir*. Gogoniant i'r Tâd ac i'r Mâb, &c.

Yna ydarlleir dwy lith yn llawn llythyr, â lleferydd vchel, fel y gallo y bobl ei glywed. Y gyntaf o'r hên Destament; yr ail o'r newydd, megis ac yr appwyntiwyd wrth y Calendar, oddi eithr bod llithiau priod wedi'r asseinio i'r dydd hwnnw. Y gwenidog a ddarllêno y llith, safed, ac ymchweled felly, megis y galler ei glywed gan bawb oll a'r a fo yn y fan. Ac o flaen pob llith, dyweded y gwenidog fel hyn. Y bennod neu yr Capitul cyntaf, yr ail, y trydydd, &c. o *Genesis*, o *Exodus*, *Mathew*, *Marc*, neu'r cyfryw vn, megis yr appwyntiwyd yn y Calendar. Ac ar ddiwedd pob pennod neu capitul, dyweded:

**Yma y terfyna y cyfryw bennod o'r cyfryw lyfr.**

Ac er mwyn cael o'r bobl glywed yn well mewn cyfryw leoedd ac y byddir yn arfer o ganu, bid yno ddarllen y llithiau mewn tôn eglur, ar wedd darlleniad llawn llythyr, a'r vn modd yr Epistol a'r Efangel. Yn ôl y llith gyntaf y canlyn *Te Deum laudamus* yn Gamber-aec, beunydd trwy'r holl flwyddyn.

Te Deum laudamus.

**TI Dduw a folwn: ti a gydnabyddwn yn Arglwydd.**
**Yr holl ddaiar a'th fawl di: y Tâd tragywyddawl.**
**Arnat ti y llefant yr holl Angelion: y nefoedd a'r holl nerthoedd o'u mewn.**
**Arnat ti y llefant Cherubin a Seraphin: â lleferydd dibaid.**
**Sanct, Sanct, Sanct: Arglwydd Dduw Sabaoth.**
**Nefoedd a daiar sydd yn llawn: o'th ogoniant.**
**Gogoneddus gôr yr Apostolion: a'th fawl di.**
**Moliannus nifer y prophwydi: a'th fawl di.**
**Ardderchawg lu y Merthyri: a'th fawl di.**
**Yr Eglwys lân trwy'r holl fyd: a'th addef di.**
**Y Tâd: o anfreidrawl fawredd.**
**Dy anrhydeddus wir: ac vnic Fâb.**

Hefyd yr Yspryd glân: y diddan-wr.
Ti Crist: yw Brenin y gogoniant.
Ti yw tragywyddol Fab y Tâd.
Pan gymmeraist arnat waredu dŷn: ni ddiystyraist frû y wyryf.
Pan orchfygaist holl nerth angeu: yr agoraist deyrnas nef i bawb a gredant.
Ti sydd yn eistedd ar ddeheu-law Duw: yng-ogoniant y Tâd.
Ydd ym ni yn credu mai tydi a ddaw: yn farn-wr arnom.
Can hynny yr attolygwn i ti gynnorthwyo dy weision: yr hai a brynaist â'th werth-fawr waed.
Par iddynt gael eu cyfrif gyd â'th Sainct: yn y gogoniant tragywyddol.
Arglwydd cadw dy bobl: a bendithia dy etifeddiaeth.
Llywia hwy: a dercha hwy yn dragywydd.
Beunydd: ac fyth y clodforwn dydi.
Ac anrhydeddwn dy Enw: byth ac yn oes oesoedd.
Teilynga Arglwydd ein cadw y dydd hwn yn ddibechod.
Arglwydd trugarhâ wrthym: trugarhâ wrthym.
Arglwydd poed dy drugâredd a ddêl arnom: megis ydd ym yn ymddiried ynot.
Arglwydd ynot yr ymddiriedais: na'm gwradwydder yn dragywydd.

Neu'r caniad hwn: *Benedicite omnia opera Domini Domino.*



Hwychwi holl weithredoedd yr Arglwydd, bendithiwch yr Arglwydd: molwch ef, a mawrhewch yn dragywydd.

Chwychwi Angelion yr Arglwydd, bendithiwch yr Arglwydd: molwch ef a mawrhewch yn dragywydd.

Chwychwi nefoedd, bendithiwch yr Arglwydd:

molwch ef a mawrhewch yn dragywydd.

Chwychwi yr dyfroedd y sydd vwchben y ffyrfafen, bendithiwch yr Arglwydd, molwch ef a mawrhewch yn dragywydd.

Chwychwi nerthoedd yr Arglwydd, bendithiwch yr Arglwydd: molwch ef a mawrhewch yn dragywydd.

Chwychwi haul a lleuad, bendithiwch yr Arglwydd: molwch ef a mawrhewch yn dragywydd.

Chwychwi sêr y nefoedd, bendithiwch yr Arglwydd: molwch ef a mawrhewch yn dragywydd.

Chwychwi gafodau a gwlith, bendithiwch yr Arglwydd: molwch ef, a mawrhewch yn dragywydd.

Chwychwi wyntoedd Duw, bendithiwch yr Arglwydd: molwch ef a mawrhewch yn dragywydd.

Chwychwi dân a gwrês, bendithiwch yr Arglwydd: molwch ef, a mawrhewch yn dragywydd.

Chwychwi aiaf a hâf, bendithiwch yr Arglwydd: molwch ef a mawrhewch yn dragywydd.

Chwychwi wlîthoedd a rhewoedd, bendithiwch yr Arglwydd: molwch ef a mawrhewch yn dragywydd.

Chwychwi rew ac oerfel, bendithiwch yr Arglwydd: molwch ef, a mawrhewch yn dragywydd.

Chwychwi iâ ac eira, bendithiwch yr Arglwydd: molwch ef, a mawrhewch yn dragywydd.

Chwychwi nosau a dyddiau, bendithiwch yr Arglwydd: molwch ef, a mawrhewch yn dragywydd.

Chwychwi oleuni a thywyllwch bendithiwch yr Arglwydd: molwch ef a mawrhewch yn dragywydd.

Chwychwi fellt ac wybrennau, bendithiwch yr Arglwydd: molwch ef a mawrhewch yn dragywydd.

Bendithied y ddaiar yr Arglwydd: moled ef, a mawrhaed yn dragywydd.

Chwychwi fynyddoedd a brynniau, bendithiwch

yr

yr Arglwydd : molwch ef a mawrhewch yn dragy-
wydd.

Chwychwi oll wyrddion bethau ar y ddaiar, ben-
dithiwch yr Arglwydd: molwch ef a mawrhewch yn
dragywydd.

Chwychwi ffynhonnau, bendithiwch yr Arglw-
ydd : molwch ef a mawrhewch, yn dragywydd.

Chwychwi foroedd a llefeiriaint, bendithiwch yr
Arglwydd : molwch ef a mawrhewch yn dragy-
wydd.

Chwychwi for-filod, ac oll a'r sydd yn ymsymmu-
do yn y dyfroedd, bendithiwch yr Arglwydd : mo-
lwch ef a mawrhewch yn dragywydd.

Chwychwi oll adar yr awyr, bendithiwch yr Ar-
glwydd : molwch ef a mawrhewch yn dragywydd.

Chwychwi oll anifeiliaid ac yscrubliaid bendi-
thiwch yr Arglwydd : molwch ef a mawrhewch yn
dragywydd.

Chwychwi blant dynion, bendithiwch yr Arglw-
ydd : molwch ef a mawrhewch yn dragywydd.

Bendithied Israel yr Arglwydd : moled ef a maw-
rhaed yn dragywydd.

Chwychwi offeiriaid yr Arglwydd, bendithiwch
yr Arglwydd : molwch ef a mawrhewch yn dragy-
wydd.

Chwychwi wasanaeth-wyr yr Arglwydd, bendi-
thiwch yr Arglwydd : molwch ef a mawrhewch yn
dragywydd.

Chwychwi yspyrdion ac eneidiau y cyfiawnion,
bendithiwch yr Arglwydd : molwch ef a mawrhe-
wch yn dragywydd.

Chwychwi y rhai sanctaidd a gostyngedig o ga-
lon, bendithiwch yr Arglwydd : molwch ef a maw-
rhewch yn dragywydd.

Chwychwi Ananias, Azarias a Misael, bendi-
thiwch

thiwch yr Arglwydd: molwch ef a mawrhewch yn dragywydd.

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Yspryd glân: Megis ydd oedd yn y dechreu, y mae yr awr hon, ac y bydd yn wastad yn oes oesoedd. Amen.

Ac ynôl yr ail llith, arferer, a dyweder, *Benedictus* yn Gamber-aec, megis y mae yn canlyn.

Benedictus. Luc. 1. 68.



Endigedic fyddo Arglwydd Dduw'r Israel: canys efe a ymwelodd, ac a brynodd ei bobl.

Ac a dderchafodd iechydwriaeth nerthol i ni yn nhŷ Ddafydd ei wasanaeth-wr.

Megis y dywedodd trwy enau ei sanctaidd brophwydi, y rhai oeddent o ddechreuad y bŷd.

Yr anfone efe i ni ymwared rhag ein gelynion, Ac oddi-wrth ddwylo pawb o'n digasogion.

Y gwnae efe drugaredd â'n tadau, ac y coffâe ei santaidd gyfammod:

A'r llw yr hwn a dyngodd ef wrth ein Tâd Abraham: sef bod iddo ganiadtau i ni gwedi ein ymwared oddi wrth ddwylo ein gelynion allu i wasanaethu ef yn ddiofn,

Mewn sancteiddrwydd a chyfiawnder ger ei fron ef holl ddyddiau ein bywyd.

A thithe fâb a elwir yn brophwyd i'r Goruchaf, canys ti a ei o flaen wyneb yr Arglwydd i baratoi ei ffyrdd ef,

Ac i roddi gwybodaeth iechydwriaeth iw bobl ef, gan faddeu eu pechodau,

O herwydd tiriondeb trugaredd ein Duw, trwy yr hon yr ymwelodd â ni godiad haul o'r uchelder:

I roddi llewyrch i'r rhai sy yn eistedd mewn tywyllwch a chyscod angeu, i gyfeirio ein traed i ffordd tangeddyf.

Gogoniant

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Yspryd glân: Megis yddoedd yn y dechreu, y mae yr awr hon, ac y bydd yn wastad, yn oes oesoedd. Amen.

Neu yr Psalm a ganlyn.



CEnwch yn llafar i'r Arglwydd yr holl ddaiar: Gwasanaethwch yr Arglwydd mewn llawenydd: deuwch yn ei wydd ef mewn gorfoledd. Iubilate Deo. Psal. 100.

Gwybyddwch mai yr Arglwyd sydd Dduw: efe a'n gwnaeth, ac nid ni ein hunain: ei bobl ef ydym a defaid ei borfa.

Ewch i mewn iw byrth ef â diolch, ac iw lysoedd â moliant gennwch, diolchwch iddo a chlodforwch ei Enw.

Canys daionus yw yr Arglwydd, a'i drugaredd sydd yn dragywydd, a'i wirionedd a beru o genhedlaeth i genhedlaeth byth.

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Yspryd glân: Megis ydd oedd yn y dechreu, y mae yr awr hon, &c.

Yna y dywedir y Credo gan y Gwenidog, a'r bobl yn eu sefyll.



CRedaf yn Nuw Dâd oll gyfoethawg, Creawdr nef a daiar. Ac yn Iesu Grist ei vn Mâb ef, ein Harglwydd ni: Yr hwn a gâed trwy yr Yspryd glân, a aned o Fair forwyn: A ddioddefodd dan Pontius Pilatus; a groes-hoeliwyd, a fu farw ac a gladdwyd, Descennodd i vffern, y trydydd dydd y cyfododd o feirw. Ascennodd i'r nefoedd, ac y mae yn eistedd ar ddeheu-law Dduw Dâd oll gyfoethawg. Oddi yno y daw i farnu byw a meirw. Credaf yn yr Yspryd glân, yr Eglwys lân gatholic, Cymmun y sainct, Maddeuaint pechodau. Cyfodiad y cnawd, a'r bywyd tragywyddol. Amen.

Ac yn ôl hynny, y gweddiau y sy yn calyn, yn gystal ar brydnhawn weddi, ac ar forau weddi: a phawb yn gostwng yn ddefosionol. Y Gwenidog yn gyntaf yn llafaru â llef vchel.

**Yr Arglwydd a fo gyd â chwi.**

Atteb.

**A chyd â'th Yspryd dithau.**

Y Gwenidog.

**Gweddiwn.**

**Arglwydd trugarhâ wrthym.**

Christ trugarhâ wrthym.

**Arglwydd trugarhâ wrthym.**

Yna y Gwenidog, yscolheigion, a'r bobl a ddywedant weddi yr Arglwydd yn Camber-aec â lleferydd vchel.

**Ein Tâd yr hwn wyt yn y nefoedd, &c.**

Yna y Gwenidog yn ei sefyll a ddywaid.

**Arglwydd dangos dy drugaredd arnom.**

Atteb.

**A chaniadhâ i ni dy iechydwriaeth.**

Offeiriad.

**Arglwydd cadw y Frenhines.**

Atteb.

**A gwrando ni yn drugarog pan alwom arnat.**

Offeiriad.

**Gwisc dy wenidogion ag iawnder.**

Atteb.

**A gwna dy ddewisol bobl yn llawen.**

Offeiriad.

**Arglwydd cadw dy bobl.**

Atteb.

**A bendithia dy etifeddiaeth.**

Offeiriad.

**Arglwydd dyro dangnefedd yn ein dyddiau.**

Atteb.

Atteb.

Can nad oes neb arall a ymladd trosom, onid tydi Dduw yn vnic.

Offeiriad.

Duw glanhâ ein calonnau ynom.

Atteb.

Ac na chymmer dy Yspryd glân oddi wrthym.

Yna y canlyn tri Cholect. Y cyntaf o'r dydd, yr hwn a fydd yr vn ac y appointir ar y Cymmun. Yr ail, am dangneddyf. Y trydydd, am râd i fyw yn dda. Ar ddau Golect ddiweddaf ni chyfnewidir byth; onid eu dywedyd beunydd ar foreuol weddi, trwy yr holl flwyddyn, fel y canlyn.

Yr ail Colect am dangneddyf.

DUw, yr hwn wyt Awdur tangneddyf, a charwr cydundeb, yr hwn o'th iawn adnabod y mae ein buchedd dragywydd yn sefyll arnaw, a'th wasaneth yw gwir fraint: Amddeffyn nyni dy ostyngedig weision, rhag holl ruthrau ein gelynion; hyd pan allom trwy gwbl ymddyried yn dy amddeffyn di, nac ofnom allu neb gwrthwyneb-wyr; trwy nerth Iesu Grist ein Harglwydd. Amên.

Y trydydd Colect am gael rhâd.

O Arglwydd nefol Dâd, holl-alluog, a thragywyddol Dduw, yr hwn a'n cedwaist yn ddiangol hyd ddechreu yr dydd heddyw, amddeffyn nyni ynddo â'th gadarn allu, a chaniadhâ na syrthiom y dydd hwn mewn vn pechod, ac nad elom mewn neb rhyw bericl, eithr bod ein holl weithredoedd wedi eu trefnu a'u llywiaw wrth dy lywodraeth, i wneuthur yn wastad y peth y sydd gyfiawn yn dy olwg di, trwy Iesu Grist ein Harglwydd, Amên.

## ¶ Y drefn am Bryd-nhawnol weddi *trwy gydol y flwyddyn.*

Yr offeiriad a ddywed.

**Ein Tâd yr hwn wyt yn y nefoedd &c.**

Ac efe yn yr vn ffunyd a ddywed.

**Arglwydd agor ein gwefusau.**

Atteb.

**A'n geneu a fynega dy foliant.**

Offeiriad.

**Duw brysia i'n cynnorthwyo.**

Atteb.

**Arglwydd prysura i'n cymmorth.**

Offeiriad.

**Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Yspryd glân. Megis ydd oedd yn y dechreu, y mae yr awr hon, ac y bydd yn wastad yn oes oesoedd. Amen.**

**Molwch yr Arglwydd.**

Yna y Psalmeu mewn trefn megis yr apwyntiwyd hwy yn y Tabul y Psalmau, oddi eithr bod Psalmau priod wedi appwyntio i'r dydd hwnw. Yna llith o'r hên Destament, megis ac yr appwyntiwyd hefyd yn y Calendar, oddi eithr bod llithiau priod wedir' appwyntio i'r dydd hwnnw. Yn ôl hynny *Magnificat* yn Gamber-aec, megis y canlyn.

Magnificat Luc, 1. 46.



**Y enaid a fawrhâ yr Arglwydd, a'm hyspryd a lawenychodd yn Duw fy Iachawdur.**

**Canys efe a edrychodd ar ostyngeiddrwydd ei wasanaethyddes.**

**Oblegid wele o hynn allan yr oll genhedlaethau a'm geilw yn wynfydedic.**

**Canys yr hwn sydd Alluog a wnaeth i mi fawredd; a sanctaidd yw ei Enw ef.**

A'i

A'i drugaredd sydd yn oes oesoedd ar y rhai a'i hofnant ef.

Efe a ddangosodd nerth â'i fraich, efe a wascarodd y rhai beilchion ym-mwriadau eu calonnau.

Efe a dynnodd i lawr y cedyrn o'u heisteddfae ac a dderchafodd y rhai isel-rádd.

Efe a lanwodd y rhai newynog â phethau da: ac efe a anfonodd ymmaith y rhai goludog mewn eisiau.

Efe a gannorthwyodd ei wâs Israel, gan gofio ei drugaredd: (fel y dywedodd wrth ein tadau, Abraham a'i hâd) yn dragywydd.

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Yspryd glân.

Megis yr oedd yn y dechreu y mae yr awr hon, ac y bydd yn oes oesoedd. Amen.

Ai ynteu y Psalm a ganlyn.



Cenwch i'r Arglwydd ganiad newydd, canys efe a wnaeth bethau rhyfedd: â'i ddeheu-law, ac â'i fraich sanctaidd y parodd iddo ei hun iechydwriaeth. Cantate Domino. Psal.98.

Yspyssodd yr Arglwydd ei iechydwriaeth, a datcuddiodd ei gyfiawnder yng-olwg y cenhedloedd.

Cofiodd ei drugaredd, a'i wirionedd i dŷ Israel: holl derfynau y ddaiar a welsant iechydwriaeth ein Duw ni.

Cenwch yn llafar i'r Arglwydd yr holl ddaiar: llefwch, ac ymlawenhewch, a chenwch.

Cenwch i'r Arglwydd gyd â'r delyn: sef gyd â'r delyn â llef canmoliaeth.

Cenwch yn llafar o flaen yr Arglwydd y Brenin, ar yr udd-cyrn, a sain trwmpet.

Rhued y môr ac sydd ynddo, y byd a'r rhai a drigant o'i fewn.

Cured y llifeiriaint eu dwylo: a chyd-ganed y mynyddoedd o flaen yr Arglwydd, canys efe a ddaeth i farnu y ddaiar.

Efe a farna yr bŷd mewn cyfiawnder: a'r bobloedd mewn uniondeb.

Gogoniant i'r Tâd ac i'r Mâb ac i'r Yspryd glân.

Megis ydd oedd yn y dechreu, &c.

Yna llith o'r Testament newydd. Ac yn ôl hynny *Nunc dimittis* yn Gamber-aec, megis y canlyn.

Nunc dimittis. Luc. 2, 29.



Y R awr hon Arglwydd y gollyngi dy wâs mewn tangneddyf yn ôl dy air.

Canys fy llygaid a welsant dy iechydwriaeth,

Yr hon a baratoaist gar bron wyneb yr holl bobl,

I fod yn oleuni i oleuo y cenhedloedd, ac yn ogoniant i'th bobl Israel.

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Yspryd glân.

Megis yr oedd yn y dechreu y mae yr awr hon, &c.

Neu yr Psalm hon.

Deus misereatur. Psal. 67.



D Uw a drugarhao wrthym, ac a'n bendithio, a thywynned llewych ei wyneb arnom, a thrugarhaed wrthym. Selah.

Fel yr adwaener dy ffordd ar y ddaiar, a'th iechydwriaeth ymhlith yr holl genhedloedd.

Molianned y bobl di ô Dduw: molianned yr holl bobl dy-di.

Llawenhaed y cenhedloedd a byddant hyfryd, canys tydi a ferni y bobl yn uniawn, ac a lywodraethi y cenhedloedd ar y ddaiar. Selah.

Molianned y bobl di ô Dduw: molianned yr holl bobl dydi.

Yna yr ddaiar a rydd ei ffrwyth: a Duw sef ein Duw ni, an bendithia.

Duw a'n bendithia, a holl derfynau yr ddaiar a'i hofnant ef.

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Yspryd glân: Megis ydd oedd yn y dechreu, y mae yr awr, &c.

Yna'y canlyn y Credo, a gweddieu eraill, megis yr appoyntiwyd ym-laen ar y foreu-weddi, ar ôl *Benedictus*. Ac â thri Cholect. Yn gyntaf o'r dydd; yr ail, o dangneddyf, Y trydydd am gynhorthwy yn erbyn pob pericl, fel y canlyn yma rhac llaw. A dau or Colectau diwethaf a ddywedir bob dydd ar bryd-nhawn weddi heb gyfnewid.

Yr ail Colect ar bryd-nhawn weddi.

DUw oddi wrth ba vn y daw pob adduned sanctaidd, pob cyngor da, a phob gweithred gyfiawn, dyro i'th wasanaeth-ddynion y rhyw dangneddyf a'r na ddichon y bŷd ei roddi; modd y gallo ein calonnau ymroi i vfyddhau i'th orchymynnion; a thrwy dy amddeffyniad i ni rhag ofn ein gelynion, allu o honom dreulio ein amser mewn heddwch a thangnefdyf, drwy haeddedigaethau Iesu Grist ein Iachawdur. Amen.

Y trydydd Colect am gynnorthwy yn erbyn holl bericlon.

GOleua ein tywyllwch, ni a attolygwn i ti o Arglwydd; a thrwy dy fawr drugaredd amddeffyn nyni rhag pob pericl ac enbydrwydd y nôs hon; er serch ar dy vn Mâb ein Iachawdur Iesu Grist. Amên.

Ar dydd Nadalic Crist, dydd-gwyl Ystwyll, dydd-gwyl Fathias; dydd Pasc, y Derchafael, y Sul-gwyn, dydd-gwyl Ioan fedyddi-wr, Sainct Iacob, Sainct Bartholomeus, S. Mathew, S. Simon ac Iud, S.

Andreas, a sul y Drindod; y cenir neu y dywedir yn nesaf vn ar ôl *Benedictus*, y gyffes, neu'r addefiad hyn o'n ffydd Cristionogawl.



Pwy bynnac a fynno fod yn gadwedic: o flaen dim rhaid iddo gynnal y ffydd gatholic.

Yr hon ffydd, onis ceidw pôb dyn yn gyfan, ac yn ddihalog: diammeu y collir ef yn dragywydd.

A'r ffydd gatholic yw hon: bod ini addoli vn Duw yn Drindod, a'r Drindod yn vndod.

Nid cymmyscu o honom y personeu: na gwahanu y sylwedd.

Canys vn person sydd i'r Tâd, arall i'r Mâb: ac arall i'r Yspryd glân.

Eithr Duwdod y Tâd, y Mâb, a'r Yspryd glân sydd vnryw: gogoniant gogyfuwch, mawrhydi gogydtragywyddol.

Un-ryw a'r Tâd, vnrhyw yw'r Mâb; vnrhyw yw'r Yspryd glân.

Digreuedic Dâd, digreuedic Fâb: digreuedic Yspryd glân.

Ammesuredig Dâd, ammesuredig Fâb, ammesuredig Yspryd glân.

Tragywyddol Dâd, tragywyddol Fâb: tragywyddol Yspryd glân.

Ac etto nid ydynt dri tragywyddolion; onid vn tragywyddol.

Ac fel nad ynt dri ammesuredigion, na thri digreuedigion: onid vn digreuedic, ac vn ammesuredig.

Felly yn gyffelyb, holl-alluog yw'r Tâd, holl-alluog yw'r Mâb: holl-alluog yw'r Yspryd glân.

Ac etto nid ynt dri holl-alluogion: onid vn holl-alluog.

Felly y Tâd sydd Dduw, y Mâb sydd Dduw: a'r Yspryd glân sydd Dduw.

Ac etto

Ac etto nid ynt dri duwiau: onid un Duw.

Felly y Tâd sydd Arglwydd, y Mâb sydd Arglwydd; a'r Yspryd glân sydd Arglwydd.

Ac etto nid ynt dri Arglwyddi; namyn un Arglwydd.

Canys fel i'n cymhellir trwy gristianogaidd wirionedd: i gyfaddef bod pob person o honaw ei hûn yn Dduw, ac yn Arglwydd

Felly i'n gwaherddir trwy'r Gatholic Crefydd: i ddywedyd, bod tri Duwiau, na thri Arglwyddi.

Y Tâd ni wnaethbwyd gan neb: ni's creuwyd, ac ni's cenhedlwyd.

Y Mâb y sydd o'r Tâd yn unic: heb ei wneuthur, na'i greû, eithr wedi ei genhedlu.

Yr Yspryd glân y sydd o'r Tâd a'r Mâb: heb ei wneuthur, na'i greu, na'i genhedlu, eithr yn deilliaw.

Wrth hynny un Tâd y sydd, nid tri thaid, un Mâb, nid tri Mâb; un Yspryd glân, nid tri Ysprydion glân.

Ac yn y Drindod hon, nid oes un cynt, neu gwedi ei gilydd: nid oes un mwy na llai na'i gilydd.

Eithr yr holl dri phersonau ydynt gogydtragywyddol: a gogyfuwch.

Ac felly ym mhob peth fel y dywedpwyd uchod: yr undod yn y Drindod, a'r Drindod yn yr undod sydd i'w addoli.

Pwy bynnac gan hynny a fynn fod yn gadwedic: synied felly o'r Drindod.

Y mae hefyd yn anghenrhaid er mwyn tragywyddol iechydwriaeth: credu o ddyn yn ffyddlawn am gnawdoliaeth ein Harglwydd Jesu Grist.

Canys yr iawn ffydd yw, credu, a chyffessu o honom: fod ein Harglwydd ni Jesu Grist, Fâb Duw; yn Dduw ac yn ddŷn.

Duw, o sylwedd y Tâd, wedi ei genhedlu, cyn nac oesoedd: a dyn, o sylwedd ei fam, wedi ei eni yn y byd.

Perffaith Dduw, a pherffaith ddŷn o enaid rhesymol: a dynol gnawd yn hanfod.

Gogyfuwch a'r Tâd o blegit ei Dduwdod: a llai nâ'r Tâd, o blegit ei ddyndod.

Yr hwn, er ei fod efe yn Dduw, ac yn ddyn: er hynny, nid yw efe ddau, onid vn Crist.

Vn, nid trwy ymchwelyd y Duwdod yn gnawd: onid gan gymmeryd y dyndawd yn Dduw.

Vn i gyd oll, nid gan gymmyscu y sylwedd: onid trwy vndod person.

Canys fel y mae yr enaid rhesymol a'r cnawd yn vn dŷn: felly Duw a dŷn sydd vn Christ.

Yr hwn a ddioddefodd tros ein iechydwriaeth: a ddescennodd i vffern, a gyfododd y trydydd dydd o feirw.

Ascynnodd i'r nefoedd, ac y mae yn eistedd ar ddeheu-law Dduw r' Tâd, holl-alluog: oddi yno y daw i farnu byw a meirw.

Ac ar ei ddyfodiad, y cyfyd pob dŷn yn eu cyrph eu hunain: ac a roddant gyfrif am eu gweithredoedd priawd.

A'r rhai a wnaethont dda, a ânt i'r bywyd tragywyddol: a'r rhai a wnaethont ddrwg, i'r tân tragywyddol.

Hon yw'r ffydd gatholic: yr hon pwy bynnac a'r ni's creto yn ffyddlon, ni all efe fod yn gadwedic.

Gogoniant i'r Tâd, &c.

Megis yr oedd yn y dechreu, &c.

Fel hyn y tersyna y foreuol a'r brydnhawnol weddi trwy 'r flwyddyn.

¶ Yma y canlyn y Letani iw arfer ar y Suliau, *y Merchurau, a'r Gwenerau, ac ar amserau eraill* pan oruchmynner y gan yr Ordinari.



**Duw Tad o'r Nef: trugarhâ wrthym wîr bechaduriaid.**

Duw Tâd o'r nef trugarhâ wrthym, &c.

**Duw Fâb bryn-wr y byd: trugarhâ wrthym wîr bechaduriaid.**

Duw Fâb bryn-wr y byd trugarhâ wrthym, &c.

**Duw Yspryd glân, yn deilliaw oddi-wrth y Tâd a'r Mab; trugarhâ wrthym wîr bechaduriaid.**

Duw Yspryd glân, yn deilliaw oddi-wrth, &c.

**Y gogoned, lân, fendigaid Drindod, tri pherson, ac vn Duw: trugarha wrthym wîr bechaduriaid.**

Y gogoned, lân, fendigaid Drindod, tri pherson, &c.

**Na chofia Arglwydd ein anwiredd, nac anwiredd ein Rhieni, ac na ddyro ddial am ein pechodau: arbet nyni Arglwydd daionus, arbet dy bobl a brynaist â'th werth-fawr waed, ac na lidia wrthym yn dragywydd.**

Arbet ni Arglwydd daionus.

**Oddi-wrth bob drwg ac anffawd, oddi-wrth bechod, oddi-wrth ystryw a chyrch y cythrael, oddi-wrth dy lid, ac oddi-wrth farnedigaeth dragywyddol.**

Gwaret ni Arglwydd daiouus.

**Oddi-wrth bob dallineb calon, oddi-wrth falchder, a gwâg ogoniant, a ffûg sancteiddrwydd, oddi-wrth genfigen, digasedd, a bwriad drwg, a phob angharíadoldeb.**

Gwaret nyni Arglwydd daionus.

**Oddi-wrth anniweirdeb, a phob pechod marwol, ac oddi-wrth oll dwyll y byd, y cnawd, a'r cythrael.**

Gwaret ni Arglwydd daionus.

**Oddi-wrth fellt a themestl, oddi-wrth blâ, haint y nodeu, a newyn, oddi-wrth ryfel ac ymladd, ac oddi-wrth angau dysyfyd.**

Gwaret nyni Arglwydd daionus.

Oddi-wrth bob terfysc a dirgel frâd, oddi-wrth bob fals ddysceidiaeth ac opinion annuwiol, oddi-wrth galedrwydd calon, a dirmyg ar dy air a'th orchymyn.

Gwaret nyni Arglwydd daionus.

Trwy ddirgelwch dy gnawdoliaeth, trwy dy sanctaidd enedigaeth, a'th enwaediad, trwy dy fedydd, dy unpryd, a'th brofedigaeth.

Gwaret nyni Arglwydd daionus.

Trwy dy ddirfawr ing, a'th chwys gwaedlyd, drwy dy grôg a'th ddioddefaint, drwy dy wyrthfawr angau a'th gladdedigaeth, drwy dy anrhydeddus gyfodiad, a'th escynniad, a thrwy ddyfodiad yr Yspryd glân.

Gwaret nyni Arglwydd daionus.

Yn holl amser ein trallod, yn holl amser ein gwynfyd, yn awr angeu, ac yn-nydd y farn.

Gwaret nyni Arglwydd daionus.

Nyni bechaduriaid a attolygwn i ti ein gwrando ô Arglwydd Dduw, a theilyngu o honot gadw, rheoli, a llywodraethu dy lân Eglwys yn hollawl yn y ffordd union.

Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwydd trugarog.

Teilyngu o honot gadw a nerthu i'th wîr addoli mewn iawnder a glendid buchedd, dy wasanaethyddes Elizabeth ein grasusaf Frenhines a'n pen-llywydd.

Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwydd trugarog.

Teilyngu o honot lywodraethu ei chalon yn dy ffydd, ofn, a chariad, ac iddi ymddiried byth ynot, ac ymgais yn wastad â'th anrhydedd, a'th ogoniant.

Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwydd trugarog.

Teilyngu o honot ei hamddeffyn a'i chadw, gan roddi iddi y fuddugoliaeth ar ei holl elynnion.

Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwydd trugarog.

Teilyngu o honot lewyrchu yr holl Escobion, Bugeiliaid a Gwenidogion yr Eglwys ag iawn wybodaeth a deall dy air: ac iddynt hwy trwy eu pregaeth a'u

a'u buchedd, ei fynegu a'i ddangos yn ddyladwy.

Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwydd trugarog.

Teilyngu o honot gynnyscaeddu Arglwyddi'r Cyngor, a'r holl fonedd, â grâs, doethineb, a deall.

Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwydd trugarog.

Teilyngu o honot fendithio a chadw y pen-swyddogion, gan roddi iddynt râs i wneuthur cyfiawnder, ac i faentumio y'r gwîr.

Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwydd trugarog.

Teilyngu o honot fendithio a chadw dy holl bobl.

Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwydd trugarog.

Teilyngu o honot roddi i bob cenhedlaeth, undeb, tangneddyf a chyd-gordio.

Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwydd trugarog.

Teilyngu o honot roddi i ni galon i'th garu a'th ofni, a byw yn ddiesceulus yn ôl dy orchymynnion.

Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwydd trugarog.

Teilyngu o honot roddi i'th bobl ychwaneg o râd, i wrando yn ufydd dy air, a'i dderbyn o bur ewyllys, a chynhyrchu ffrwyth yr Yspryd.

Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwydd trugarog.

Teilyngu o honot ddwyn i'r ffordd wîr, pawb ar a aeth ar gyfeiliorn ac a dwyllwyd.

Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwydd trugarog.

Teilyngu o honot nerthu y rhai sy yn sefyll, a chonfforddio a chynnorthwyo y rhai sy â gwan galon, a chyfodi y sawl a syrthiant, ac o'r diwedd curo i lawr Satan tann ein traed.

Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwydd trugarog.

Teilyngu o honot gymmorth a helpio, a diddanu pawb ar y sydd mewn perigl, anghenoctid a thrwblaeth.

Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwydd trugarog.

Teilyngu o honot gadw pawb a'r sydd yn ymddaith ar fôr na thîr, pob gwraig wrth escor plant, pob clwyfus a rhai bychain, ac i ti dosturio wrth

hawb a fyddo mewn caethiwed na charchar.

Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwydd trugarog.

Teilyngu o honot amddeffyn ac ymgoleddu y plant amddifaid, a'r gwragedd gweddwon, a phawb y sydd yn unic, ac yn goddef pwys plaid orthrech.

Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwydd trugarog.

Teilyngu o honot drugarhau wrth bob dŷn.

Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwydd trugarog.

Teilyngu o honot faddeu i'n gelynnion, erlynwŷr, ac sclandr-wŷr, a throi eu calonnau.

Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwydd trugarog.

Teilyngu o honot roddi a chadw er ein llês, amserol ffrwythau y ddaiar, modd y caffom mewn amser dyledus eu mwynhau.

Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwydd trugarog.

Teilyngu o honot roddi i ni wir edifeirwch, a maddeu i ni ein holl bechodau, escaulustra, a'n anwybod, a'n cynhyscaeddu â rhad dy Yspryd glân, a gwellhau ein buchedd yn ôl dy air sanctaidd.

Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwydd trugarog.

Mâb Duw: attolygwn i ti ein gwrando.

Mâb Duw: attolygwn iti ein gwrando.

Oen Duw, yr hwn wyt yn deleu pechodau yr bŷd.

Caniadhâ i ni dy dangneddyf.

Oen Duw, yr hwn wyt yn deleu pechodau yr byd.

Trugarhâ wrthym.

Crist clyw nyni.

Crist clyw nyni.

Arglwydd trugarhâ wrthym.

Arglwydd trugarhâ wrthym.

Crist trugarhâ wrthym.

Crist trugarhâ wrthym.

Arglwydd trugarhâ wrthym.

Arglwydd trugarhâ wrthym.

Ein Tad yr hwn wyt yn y nefoedd, &c.

Ac na thywys ni ym-mhrofedigaeth.

Eithr gwaret ni rhag drwg. Amen.

Gwersic.

Arglwydd na wna â nyni yn ôl ein pechodau.

Atteb.

Ac na obrwya ni yn ôl ein anwiredd.

Gweddiwn.

DUw Tad trugarog yr hwn nid wyt yn tremygu vchenaid calon gystuddiedic, nac adduned y gorthrymmedic: cynnorthwya yn drugarog ein gweddiau, y rhai ydd ym ni yn eu gwneuthur ger dy fron, yn ein trallod a'n blin-fyd, pa bryd bynnac y gwascant arnom: a gwrando ni yn rasusol, hyd pan fo i'r drygau hynny, y rhai y mae ystryw a dichell diafol neu ddyn yn eu gwneuthur i'n herbyn, fyned yn ofer, a thrwy luniaeth dy ddaioni di, iddynt fod yn wascaredic, modd na'n briwer dy weision drwy erlyn neb, a gallu o honom byth ddiolch i ti yn dy lân Eglwys, trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

Arglwydd cyfot, cymmorth ni, a gwaret ni er mwyn dy Enw.

O Dduw ni a glywsom â'n clustiau, a'n tadau a fynegasant i ni y gweithredoedd ardderchawg a wnaethost yn eu dyddiau, ac yn y cynfyd o'u blaen hwy.

Arglwydd cyfot, cymmorth ni, a gwaret ni er dy anrhydedd.

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Yspryd glân.

Megis ydd oedd yn y dechreu, y mae, &c.

Rhag ein gelynion amddeffyn ni, Crist.

Yn rasol edrych ar ein poenedigaethau.

Yn dosturus ystyria wrth drymder ein calonnau.

Yn drugarog maddeu bechodau dy bobl.

Yn garedigol gan drugaredd gwrãdo ein gweddiau.

Iesu Fab Dafydd, trugarhâ wrthym.

Yr awr hon a phob amser teilynga ein gwrando ô Grist.

Yn rasol clyw ni o Grist, Yn rasol clyw nyni ô Arglwydd Grist.

Gwersic.

Arglwydd dangos dy drugaredd arnom.

Atteb.

Fel ydd ŷm yn ymddiried ynot.

Gweddiwn.

NYni a attolygwn i ti ô Arglwydd Dad, yn drugarog edrych ar ein gwendid, ac er gogoniant dy Enw, ymchwel oddi-wrthym yr holl ddrygau ar a ddarfu i ni o wîr gyfiawnder eu haeddu, a chaniadhâ bod ini yn ein holl drallod ddodi ein cyfan ymddyried a'n gobaith yn dy drugaredd, a byth dy wasanaethu mewn sancteidd-rwydd a phurdeb buchedd, 'ith anrhydedd a'th ogoniât, trwy ein unic gyfryngwr a'n dadleu-wr Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

Gweddi tros fawreidd-rwydd y Frenhines.

O Arglwydd ein Tâd nefol, goruchel, a galluoc, Brenin y Brēhinoedd, Arglwydd yr Arglwyddi, unic lywiawdur y Tywysogion, yr hwn wyt o'ch eisteddle yn edrych ar holl drigiolion y ddaiar, ni a attolygwn, ac a erfynniwn i ti, edrych o honot yn ddarbodus ar ein grasusaf ddaionus Arglwyddes Frenhines Elizabeth, ac felly ei chyflawni hi o rad dy sanctaidd Yspryd, hyd pan fo iddi yn wastadol bwyso i'th fedd'wl, a rhodio yn dy ffordd, cynnyscaedda hi yn ehelaeth â donniau nefol, caniadhâ iddi mewn llwyddiant ac iechyd, hir-hoedl, nertha hi, modd y gallo orescyn a gorchfygu ei holl elynnion, ac o'r diwedd yn ôl y fuchedd hon, bod iddi fwynhau llawenydd a dedd'wyddyd tragywyddol, trwy Iesu Grist. &c.

HOll-gyfoethog a thragywyddol Dduw, yr hwn wyt yn unic yn gwneuthur rhyfeddodau, danfon i lawr ar ein Escobiō a Churadiaid, a'r holl gynnulleidfaon a orchymynnwyd tann eu gofal hwynt, iachol Yspryd dy rad, hyd pan fo iddynt wir ryngu bodd i ti, tywallt arnynt ddyfal wlith dy fendith: Caniadhâ hyn Arglwydd, er anrhydedd ein dadleu-wr, a'n cyfryng-wr Iesu Grist. Amen.

Gweddi

Gweddi o waith *Chrysostom.*

HOll-alluog Dduw, yr hwn a roddaist i ni rád y pryd hyn drwy gysundeb, a chyd-gysarch i weddio arnat, ac wyt yn addo pā ymgynnullo dau neu dri yn dy Enw, bod i ti ganiadhau eu gofynnion: cyflawna yr awr hon ô Arglwydd, ddymuniad, a deisyfiad dy weision, fel y bo mwyaf buddiol iddynt, gan gãiadhau i ni yn y byd hwn wybodaeth am dy wirionedd, ac yn y byd a ddaw, bywyd tragywyddol. Amē.

RHad ein Harglwydd Iesu Grist, a serch Duw, a chymmdeithas yr Yspryd glân, a fyddo gyd â ni oll byth bythoedd. Amen.

Gweddi am gael glaw pan fyddo angenrheidiol.

O Dduw nefol Dad, yr hwn drwy dy Fab Iesu Grist, a addewaist i bawb a geisio dy Deyrnas a'i chysiawnder, bob peth sydd angenrhaidiol i'w cynhaliaeth corphorol: danfon i ni wrth ein hãgenoctid, ni a attolygwn i ti, gyfryw dywydd a chafodydd ardymherus, modd y gallom gael ffrwythau y ddaiar i'n mwyniãt ni, ac i'th urdduniãt titheu, trwy Iesu Grist. &c.

Am hinon neu dywydd teg.

ARglwydd Dduw, yr hwn am bechod dyn a foddaist unwaith yr holl fŷd, oddi eithr wyth-nŷn o bobl, ac yn ôl hynny o'th fawr drugaredd a addewaist na's destruwit felly byth trachefn: ni a attolygwn i ti, er i ni am ein anwiredd haeddu y blâ hon o law a dyfroedd, etto wrth ein gwîr edifeirwch, danfon i ni y cyfryw dywydd a hinō, fel y gallom dderbyn ffrwythau yr ddaiar mewn amser dyladwy, a dyscu trwy dy gospedigaeth wellhau ein bucheddau, ac er dy warder roddi i ti foliant a gogoniant, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

Ar amser drudaniaeth a newyn.

O Dduw Tad o'r Nef, drwy ddawn pa un y descyn y glaw, ac y mae y ddaiar yn ffrwyth-lawn, yr

hilia anifeiliaid, ac yr amlhâ yr pyscod: edrych attolwg ar adfyd dy bobl, a chaniadhâ am y prinder ar drudaniaeth (ydd ym ni yr awrhon yn ei ddioddef yn gwbl gyfion am ein anwiredd) iddo drwy dy drugarog ddaioni ymchwelyd yn rhâd ac yn helaethrwydd, er cariad ar Jesu Ghrist ein Harglwydd, i ba un, gyd â thy-di a'r Yspryd glân, y bo moliant yn oes oesoedd. Amen.

Ar amser rhyfel.

HOll-alluog Dduw, Brenin yr holl-frenhinoedd, a phen-llywiawdur pob peth, yr hwn ni ddichon neb creadur wrthladd ei nerth, i'r hwn y perthyn o gyfiawnder gospi pechaduriaid, a bod yn drugarog wrth y rhai a fyddont wîr edifeiriol: Cadw a gwaret nyni (yn ostyngedic ni a attolygwn iti) rhag dwylaw ein gelynion, gostwng eu balchter, tôla eu drygioni, a gwradwydda eu bwriadau, modd y gallom yn arfogion gan dy amddeffyn, fod byth yn gadwedic rhag pob perigl, i'th ogoneddu di yr hwn wyt unic rodd-wr pob buddugoliaeth a goruchafiaeth drwy haeddigaethau dy un Mâb Jesu Grist. &c.

Yn amser plâ cyffredin, neu haint cynhwynol.

HOll-alluog Dduw, yr hwn yn dy lid yn amser y Brenin Dafydd, a leddaist â phlâ y nodau ddengmîl, a thrugain mîl, ac yn lleigys gan goffa dy drugaredd, a faddeuaist y lleill: trugarhâ wrthym wîr bechaduriaid, y rhai a ddarfu i ddirfawr haint a marwolaeth ymweled â ni; fel megis ac y gorchymynnaist i'th Angel beidio a chospi; felly bod yn awr yn deilwng gennit wrthladd oddi-wrthym y blâ a'r gofidus haint yma, trwy Jesu Crist. &c.

O Dduw, yr hwn biau o naturiaeth a phriodoldeb drugarhau yn wastad, a maddeu, derbyn ein ufydd weddiau: ac er ein bod ni yn rhwym gan gaethiwed cadwynau ein pechodau, er hynny datoder ni, gan dosturi dy drugaredd, er anrhydedd Jesu Grist ein cyfryng-wr a'n dadleu-wr. Amen.

# Y Colectau, yr Epistolau, a'r Efengylon a arferir ar amser gweinidogaeth Swpper yr Arglwydd a'r Cymmun bendigedig trwy 'r flwyddyn.

## Y Sûl cyntaf yn Adfent.

### Y Colect.

HOll-alluog Dduw, dyro râd i nyni i ymwrthod
â gweithredoedd y tywyllwch ac i wisco arfau yr
goleuni, yn-awr yn amser y fuchedd farwol hon (pryd
y daeth dy Fab Iesu Grist i ymweled â nyni mewn
mawr ostyngeiddrwydd) fel y byddo i ni yn y dydd di-
weddaf (pan ddelo efe drachefn yn ei ogoneddus fa-
wredd i farnu byw a meirw) gyfodi i'r fuchedd an-
farwol, trwyddo ef, yr hwn sydd yn bywoccau, ac yn
teyrnasu gyd â thi a'r Yspryd glân, yr awr hon ac yn
dragywydd. Amen.

### Yr Epistol.



NA fyddwch yn nylêd nêb oddim, oddi- Rom.13.8.
eithr o garu pawb ei gilydd: canys yr
hwn syddyn caru arall a gyflawnodd
y gyfraith. Canys hyn, Na odineba,
na lâdd, na ladratta, na ddwg gam
dystiolaeth, na thrachwanta, ac os
oes [vn] gorchymmyn arall, y mae wedi ei gynnwys
yn gryno yn yr ymadrodd hwn, Câr dy gymydog fel
ti dy hun. Cariad ni wna ddrwg i'r cymmydog, am
hyny, cariad yw cyflawnder y ddeddf. A hyny gã we-
led yr amser, ei bôd hi weithian yn brŷd ini i ddeffroi
o gyscu. Canys yr awran ymae ein iechydwriaeth yn
nês, nâ phan gredasom. Y nôs a aeth heibio, a'r dŷdd
a ddaeth yn agos. Am hynny bwriwn ymmaith
weithredoedd

weithredoedd y tywyllwch, a gwiscwn arfau y goleuni. Rhodiwn yn weddus megis wrth liw dydd: nid mewn cyfeddach, a meddwdod, nid mewn cydorwedd, ac anlladrwydd, nid mewn cynnen, a chenfigen: eithr gwiscwch am danoch yr Arglwydd Jesu Grist, ac na fydded eich gofal tros y cnawd, er mwyn porthi ei chwantau.

Yr Efengyl.

Matt.21.1.



Phan ddaethant yn gyfagos i Jerusalem, a'u dyfod hwy i Bethphage i fynydd yr Olivwydd, yna yr anfonodd yr Jesu ddau ddiscybl, gan ddywedyd wrthynt, ewch i'r drêf sydd ar eich cyfer, ac yn y man chwi a gewch assyn yn rhwym, ac ebol gyd â hi: gollyngwch hwynt yn rhydd, a dygwch attafi. Ac os dywed neb ddim wrthych, dywedwch fod yn rhaid i'r Arglwydd wrthynt, ac yn y man ef a'u gollwng hwynt ymmaith. A hyn oll a wnaethpwyd er cyflawni yr hyn a ddywedasid trwy'r prophwyd, gan ddywedyd, Dywedwch i ferch Sion, wele dy frenhin yn dyfod attat yn llaryaidd, ac yn eistedd ar assyn, ac ebol, llwdn assyn arferol â'r iau. Y discyblon a aethant, ac a wnaethant fel y gorchymmynase'r Jesu iddynt. Ac hwy a ddugasant yr assyn, a'r ebol, ac a ddodasant eu dillad arnynt, ac a'i gosodasant ef i eistedd ar hynny. A thyrfa ddirfawr a danasant eu dillad ar y ffordd: eraill a dorrasant gangau o'r gwŷdd, ac a'u tanasant ar hyd y ffordd. A'r dyrfa bobl y rhai oeddynt yn myned o'r blaen, a'r rhai oeddynt yn dyfod ar ôl a lefasant, gan ddywedyd: Hosanna i Fâb Dafydd: bendigedig yw'r hwn sydd yn dyfod yn enw'r Arglwydd: Hosanna yn y goruchelder. Ac wedi ei ddyfod ef i Jerusalem, y ddinas oll a gynnhyrfwyd gan ddywedyd, pwy yw hwn? A'r

bobl

bobl a ddywedasant, hwn yw'r Iesu, y prophwyd o Nazareth yn Galilêa. A'r Iesu a aeth i mewn i Deml Dduw, ac a'u taflodd hwynt oll allan y rhai oeddynt yn gwerthu ac yn prynu yn y Deml, ac a ddymchwelodd i lawr fyrddau y newid-wyr arian, a chadeiriau y rhai oeddynt yn gwerthu colommennod. Ac efe a ddywedodd wrthynt, y mae yn scrifennedig, tŷ gweddi y gelwir fy-nhŷ i, eithr chwi a'i gwnaethoch yn ogof lladron.

## Yr ail Sul yn Adfent.

### Y Colect.

Y Gwynfydedic Arglwydd, yr hwn a beraist yr holl Scrythur lân yn scrifennedic er mwyn ein athrawaeth, an addysc ni: Caniadhâ fod i ni mewn cyfryw fodd ei gwrando, ei darllain, ei chwiliaw, a'i dyscu, ac i'n mewn ei mwynhâu, hyd pan allom trwy ddioddefaint a chonffordd dy gyssegredic air, ymgofleidio ac ymgynnal gan fendigaid obaith y fuchedd dragywyddol yr hon a roddaist i ni, drwy ein Iachawdur Iesu Grist. Amen.

### Yr Epistol.

Y Pethau a scrifennwyd ym-mlaen llaw er addysc i ni yr scrifennwyd hwy, fel y gallem trwy ammynedd a chysur yr Scrythurau gael gobaith. A Duw'r ammynedd a'r cysur a roddo i chwi synnied yr vn peth bawb â'i gilydd yn ôl Christ Iesu: Megis o gyttundeb, ac o vn genau y galloch foliãnu Duw, a Thâd ein harglwydd Iesu Ghrist. O herwydd pa ham, derbyniwch bawb ei gilydd, megis y derbyniodd Christ ninnau i ogoniant Duw. Ac yr ydwyf yn dywedyd wneuthur Iesu Ghrist yn weinidog i'r enwaediad er mwyn gwirionedd Duw, er cadarnhau'r addewidion a wnaethpwyd i'r tadau: Rom. 15. 4.

ac fel y rhodde 'r cenhedloedd ogoniant i Dduw am ei drugaredd: fel y mae yn scrifennedig: Am hyn i'th gyffessaf ym-mhlith y cenhedloedd, ac y canaf i'th enw. A thrachefn y dywed, ymlawenhewch genhedloedd gyd â 'i bobl ef. A thrachefn, Molwch yr Arglwydd yr holl genhedloedd, a chlodforwch ef yr holl bobloedd. A thrachefn Esaias a ddywed, fe fydd gwreiddyn Jesse, a'r hwn a gyfyd i lywodraethu 'r cenhedloedd, yn hwnnw y gobeitha y cenhedloedd. A Duw 'r gobaith a'ch cyflawno o bob llawenydd, a thangnheddyf, gan gredu, fel y'ch amlhaer yng-obaith trwy nerth yr Yspryd glân.

## Yr Efengyl.

Luc. 21. 25.  A Bydd arwyddion yn yr haul, a'r lleuad, a'r sêr, ac ar y ddaear ing cenhedloedd gan gyfyng-gyngor, am fod y môr a'r rhyferthwy yn dadseinio, a bod dynion yn llewygu gan ofn, a disgwil am y pethau a ddeuant ar y byd, oblegid nerthoedd y nefoedd a yscydwir. Ac yna y gwelant fâb y dyn yn dyfod mewn cwmwl gyd â gallu a gogoniant mawr. A phan ddechreuo 'r pethau hyn ddyfod, edrychwch i fynu, a chodwch eich pennau, canys y mae eich ymwared yn agos. Ac ef a ddywedodd wrthynt y ddammeg hon, edrychwch ar y ffigus-bren, a'r holl brennau, pan ddeiliant hwy weithian, chwy-chwi yn gweled a wyddoch o honoch eich hunain, fôd yr hâf weithian yn agos. Felly chwithau, pan weloch wneuthur y pethau hyn, gwybyddwch fod Teyrnas Dduw yn agos. Yn wîr, meddaf i chwi, nid aiff yr oes hon heibio, nes gwneuthur y pethau hyn oll. Y nêf, a'r ddaear a ânt heibio, ond y geiriau mau fi nid ânt heibio ddim.

## Y trydydd Sul yn Adsent.

### Y Colect.

ARglwydd, attolygwn i ti glust-ymwrando â'n gweddiau, a thrwy dy radlawn ymweliad, goleua dywyllwch ein calonnau, trwy ein Harglwydd Iesu Christ, Amen.

### Yr Epistol.



Ymmered dyn nyni fel hyn, megis 1.Cor.4.1.
gweinidogion i Grist, a gorchwylwyr
ar ddirgelcdigaethau Duw. Am ben
hyn, gofynnir gan y gorchwylwyr gael
vn yn ffyddlon. Eithr am danaf i, lleiaf
dim gennif fy marnu gennych chwi, neu gan farn
dyn: ac nid wyf chwaith yn fy marnu fy hunan.
Canys ni wn fy môd yn euog o ddim, ond yn hyn
ni'm cyfiawnheuir, eithr yr Arglwydd yw'r hwn
sydd yn fy marnu. Am hynny na fernwch ddim cyn
yr amser, oni ddelo'r Arglwydd, yr hwn a oleua
ddirgelion y tywyllwch, ac a eglura feddyliau y ca-
lonnau, ac yna y bydd y glod i bawb gan Dduw.

### Yr Efengyl.



Phan glybu Ioan yngharchar am wei- Matt.11.2.
thredoedd Christ, efe a ddanfonodd ddau
o'i ddiscyblon, ac a ddywedodd wrtho, Ai
ty-di yw'r hwn sydd ar ddyfod, ai disgwil
a wnawn am arall? A'r Iesu a attebodd, ac a ddy-
wedodd wrthynt, ewch a mynegwch i Ioan y pe-
thau a glywch, ac a welwch: y mae'r deillion yn
gweled eil-waith, a'r cloffion yn rhodio, a'r cleifion-
gwahanol wedi eu glanhau, a'r byddariaid yn cly-
wed, y mae y meirw yn cyfodi a'r tlodion yn cael pre-
gethu'r Efengyl iddynt. A dedwydd yw'r hwn ni
rwystrir o'm plegid i. Ac a hwy yn myned ymmaith,
yr Iesu a ddechreuodd ddywedyd wrth y dyrfa am
Ioan, Pa beth yr aethoch allan i'r anialwch i edrych

am dano? ai corsen a ysgydwid gan wynt? Eithr pa
beth yr aethoch allan i'w weled? ai dyn wedi ei wisco
â dillad esmwyth? wele, y rhai sy 'n gwisco dillad
esmwyth, mewn tai brenhinoedd y maent. Eithr
pa beth yr aethoch chwi allan i'w weled? ai proph-
wyd? ie, meddaf i chwi, a mwy nâ phrophwyd. Ca-
nys hwn yw'r neb y mae yn scrifennedig am dano,
Wele yr wyf yn danfon fynghennad o flaen dy wy-
neb, yr hwn a barottoa dy ffordd o'th flaen.

## Y pedwerydd Sûl yn Adfent.

### Y Colect.

ARddercha Arglwydd attolwg i ti dy gadernid, a
thyred i'n plith, ac â mawr nerth cymmorth ni,
ac am y rhwystr a'r lluddias y sydd arnom, o ran
anwiredd ein pechodau, bydded i'th ddaionus râd ti
ein gwared ni yn ebrwydd, trwy ddiwygiad dy Fâb
ein Harglwydd: i ba vn gyd â thi a'r Yspryd glân, y
byddo anrhydedd a gogoniant, yn oes oesoedd. Amē.

### Yr Epistol.

Phil.4.4. Lawenhewch yn yr Arglwydd yn oe-
stadol, a thrachefn meddaf, llawenhe-
wch. Bydded eich hynawsedd yn hys-
pys i bob dyn. Y mae 'r Arglwydd yn
agos. Na ofelwch am ddim: eithr ym-
mhob dim dangoser eich dymuniad i Dduw mewn
gweddi a deisyf gyd â diolch. A thangnheddyf Duw
yr hwn sydd vwch law pob deall a geidw eich calon-
nau a'ch meddyliau yn-Ghrist Iesu.

### Yr Efengyl.

Ioan.1.19. 
Hon yw tystiolaeth Ioan, pan anfo-
nodd yr Iddewon offeiriaid, a Lefi-
aid o Ierusalem i ofyn iddo, pwy yd-
wyt ti? yntef a gyffessodd, ac ni wa-
dodd, ac efe a addefodd, nid myfi yw'r
Christ. A hwyntau a ofynnasant

iddo, beth yntef? ai Elias ydwyt ti? dywedodd yntef, nag ê: ai'r prophwyd ydwyt ti? ac ef a attebodd, nag ê. Yna y dywedasant wrtho ef, pwy ydwyt ti, fel y rhoddom atteb i'r rhai a'n hanfonodd ni? beth meddi di am danat dy hun? Eb yr efe, mysi ydwyf lêf vn yn gwaeddi yn y diffaethwch, Uniawnwch ffordd yr Arglwydd, fel y dywedodd Esay y prophwyd. A'r rhai a anfonasid oeddynt o'r Phariseaid. A hwynt a ofynnasant iddo ef, ac a ddywedasant wrtho, paham gan hynny yr ydwyt ti yn bedyddio, onid wyt ti y Christ, nac Elias, na'r prophwyd? Joan a'u hattebodd hwynt, gan ddywedyd: my-fi sydd yn bedyddio â dwfr, ond y mae vn yn sefyll yn eich plith chwi, yr hwn nid adwaenoch. Efe yw 'r hwn sydd yn dyfod ar fy ôl i, yr hwn oedd o'm blaen i, yr hwn nid ydwyf fi deilwng i ddattod carrei ei escid. Y pethau hyn a wnaethpwyd yn Bethabara, y tu hwnt i'r Jorddonen, lle'r oedd Joan yn bedyddio.

## Dydd Natalic Christ.

### Y Colect.

HOll-alluog Dduw, yr hwn a roddaist i ni dy vn Mâb i gymeryd ein anian arno, a'i eni heddyw o forwyn bûr: Caniadhâ i ni fod wedi ein hadgenhedlu, a'n gwneuthur yn blant i ti trwy fabwys a rhâd, a pheunydd ein hadnewyddu trwy dy lan Yspryd, trwy yr vn-rhyw ein Harglwydd Jesu Grist, yr hwn a fywocâ ac a deyrnasa gyd â thi yn oes oesoedd. Amen.

### Yr Epistol.

DUw lawer gwaith, a llawer modd gynt a ymddiddanodd â'r tadau yn y prophwydi: y dyddiau diweddaf hyn efe a ymddiddanodd â nyni yn ei Fâb, yr hwn a wnaeth efe yn etifedd pob peth trwy'r hwn hefyd y gwnaeth efe y bydoedd: yr hwn Heb.1.1.

(am ei fod yn llewyrch y gogoniant, ac yn wir lun ei berson ef, ac yn cynnal pob peth trwy air ei nerth, wedi golchi ein pechodau ni trwyddo ef ei hun) a eisteddodd ar ddeheu-law y mawredd, yn y goruchelder: yr hwn a wnaethpwyd yn well nâ'r Angelion, o gymmaint ac yr etifeddodd efe enw rhagorach nag hwynt-hwy. Canys wrth bwy o'r Angelion erioed y dywedodd efe, fy Mâb ydwyt ti, myfi heddyw a'th genhedlais di. A thrachefn, Myfi a fyddaf yn Dad iddo ef, ac yntef fydd yn Fab i minne. A thrachefn pan ydyw yn dwyn ei Fâb cyntaf-anedig i'r bŷd, y mae yn dywedyd, Addoled hefyd holl Angelion Duw ef. Ac am yr Angelion hefyd y mae yn dywedyd, Yr hwn sydd yn gwneuthur ei gennadon yn ysprydion, a'i weinidogion yn fflam dân. Ac wrth y Mâb, Dy orsedd-faingc, ô Dduw, sydd yn oes oesoedd: teyrnwialen vniondeb yw teyrn-wialen dy deyrnas di. Ti a geraist gyfiawnder, ac a gaseaist anwiredd: am hynny Duw sef dy Dduw di a'th enneiniodd ag olew gorfoledd tu hwnt i'th gyfeillon. Ac, Tydi yn y dechreuad, ô Arglwydd, a seiliaist y ddaear, a gwaith dy ddwylaw di yw y nefoedd. Hwynt-hwy a ddarfyddant, tithe a barhei: iê, hwynt-hwy oll a heneiddiant fel dilledyn: megis gwisc hefyd y plygi di hwynt, ac hwy a newidiant: eithr yr vn ydwyt ti, a'th flynyddoedd ni phallant.

Yr Efengyl.

Ioan. 1. 1. YN y dechreuad yr oedd y gair, a'r gair oedd gŷd â Duw, a Duw oedd y gair. Hwn oedd yn y dechreuad gŷd â Duw. Trwyddo ef y gwnaethpwyd pob peth, ac hebddo ef ni wnaed dim o'r a wnaethpwyd. Ynddo ef yr oedd bywyd, a'r bywyd oedd oleuni dynion. A'r goleuni sydd yn llewyrchu yn y tywy-

tywyllwch, a'r tywyllwch nid oedd yn ei amgyffred. Yr oedd dŷn wedi ei anfon oddiwrth Dduw, a'i enw Ioan. Hwn a ddaeth yn dystiolaeth fel y tystiolaethe efe am y goleuni, fel y crede pawb trwyddo ef. Nid efe oedd y goleuni hwnnw, eithr [efe a anfonasid] i dystiolaethu am y goleuni. Hwnnw oedd y gwir oleuni, yr hwn sydd yn goleuo pob dŷn o'r sydd yn dyfod i'r byd. Yn y bŷd yr oedd efe, a'r bŷd a wnaethwyd trwyddo ef, a'r byd nid adnabu ef. At ei eiddo ei hun y daeth efe, a'i eiddo ei hun nis derbyniasant ef. Ond cynnifer ac a'i derbyniasant ef, efe a roddes iddynt allu i fod yn feibion i Dduw, sef i'r sawl a gredant yn ei enw ef. Y rhai ni aned o waed, nac o ewyllys y cnawd, nac o ewyllys gŵr, eithr o Dduw. A'r gair a wnaethpwyd yn gnawd, ac a drigodd yn ein plith ni (ac ni a welsom ei ogoniant ef, megis gogoniant yr unig-anedig Fâb yn dyfod o ddiwrth y Tâd) yn llawn grâs, a gwirionedd.

## Dydd gwyl Sanct Stephan.

### Y Colect.

CAniadhâ i ni Arglwydd ddyscu caru ein gelynion, drwy esampl dy ferthyr Sanct Stephan, yr hwn a weddiodd tros ei arteithwŷr arnat ti, yr hwn wyt yn byw yn oes oesoedd. Amen.

Yna y canlyn y Colect o'r Natalig, yr hwn a ddywedir yn oestad hyd Dydd Calan.

### Yr Epistol.



AC Stephan yn gyflawn o'r Yspryd glân a edrychodd yn ddyfal tu â'r nef, ac a welodd ogoniant Duw, ac Iesu yn sefyll ar ddeheulaw Duw. Ac efe a ddywedodd, wele, mi a welaf y nefoedd yn agored, Act.7.55.

 red,

red, a Mâb y dŷn yn sefyll ar ddeheulaw Duw. Yna y gwaeddasant â llef fawr, ac y caeasant eu clustiau, ac y rhuthrasant ar vn-waith arno. Ac a'i bwriasant allan o'r ddinas, ac a'i llabyddiasant: a'r tystion a ddodasant eu dillad wrth draed dŷn ieuangc a elwid Saul. Ac hwy a labyddiasant Stephan, ac ef yn galw ar Dduw, ac yn dywedyd, Arglwydd Iesu, derbyn fy yspryd. Ac efe a ostyngodd ar ei liniau, ac a lefodd â llêf vchel: Arglwydd, na ddôd y pechod hyn yn eu herbyn. Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a hunodd.

Yr Efengyl.

Matt.23.34. 

Ele yr ydwyf fi yn anfon attoch brophwydi, a doethion, ac Scrifennyddion, a rhai o honynt a leddwch, ac a groeshoeliwch, a rhai o honynt a ffrewyllwch yn eich Synagogau, ac a erlidiwch o dref i dref: fel y dêl arnoch chwi yr holl waed gwirion a ollyngwyd ar y ddaear, o waed Abel gyfiawn hyd waed Zacharias fâb Barachias yr hwn a laddasoch rhwng y Deml a'r allor. Yn wir, meddaf i chwi, daw hyn oll ar y gēhedlaeth hon. Ierusalē, Ierusalē, yr hon yd wyt yn lladd y prophwydi, ac yn llabyddio y rhai a ddanfonir attat, pa sawl gwaith y mynnaswn gasclu dy blant ynghŷd, megis y cascl yr iâr ei chywion tan ei hadenydd, ac ni's mynnech. Wele yr ydys yn gadel eich tŷ i chwi yn anghyfannedd. Canys, meddaf i chwi, ni'm gwelwch yn ôl hyn, hyd oni ddywedoch, Bendigedig yw'r hwn sydd yn dyfod yn enw'r Arglwydd.

Dy'gwyl Ioan Efangylwr.

Y Colect.

ARglwydd trugarog attolygwn i ti fwrw dy ddisclaer belydr goleuni ar dy Eglwys, hyd pan fo

iddi,

iddi, wedir oleuo gan athrawiaeth dy wynfydedic Apostol ac Efangelwr Joan, allu dyfod i'th ddoniau tragywyddol, trwy Jesu Ghrist ein Harglwydd. Amen.

Yr Epistol.



R hyn oedd o'r dechreuad, yr hyn a glywsom, yr hyn a welsom a'n llygaid, yr hyn a edrychasom arno, ac a deimlodd ein dwylo o air y bywyd, (canys y bywyd a ymddangosodd, ac ni a welsō, ac yr ydym yn tystiolaethu, ac yn mynegi i chwi y bywyd tragywyddol, yr hwn oedd gŷd â'r Tâd, ac a ymddangosodd i ni) yr hyn, meddaf, a welsom ac a glywsom, yr ydym yn ei fynegi i chwi, fel y byddo i chwithau hefyd gymdeithas gŷd â ni, ac fel y byddo ein cymdeithas ni hefyd gŷd â'r Tâd a'i Fâb Jesu Ghrist. A'r pethau hyn yr ydym yn eu scrifennu attoch fel y byddo eich llawenydd yn gyflawn. Hyn yw'r gennadwri a glywsom ganddo ef, ac yr ydym yn ei adrodd i chwi, mai goleuni yw Duw, ac nad oes ynddo ddim tywyllwch. Os dywedwn fod i ni gymdeithas ag ef, a rhodio yn y tywyllwch, celwyddog ydym, ac nid ydym yn gwneuthur y gwir. Eithr os rhodiwn yn y goleuni, megis y mae efe yn y goleuni, y mae i ni gymdeithas â'i gilydd, a gwaed Jesu Ghrist ei Fâb ef sydd yn ein glanhau o ddiwrth bob pechod. Os dywedwn nad oes ynom bechod, yr ydym yn ein twyllo ein hunain, a'r gwirionedd nid yw ynom. Os cyfaddefwn ein pechodau, ffyddlon yw efe, a chyfiawn, fel y maddeuo i ni ein pechodau, ac y'n glanhao oddiwrth bob anwiredd. Os dywedwn na pechasom, yr ydym yn ei wneuthur ef yn gelwyddog, a'i air nid yw ynom.

1.John 1.1.

Yr Efengyl.



Ioan.21.19. Esu a ddywedodd wrth Petr, canlyn fi. Yna troes Petr, a Gwelodd y discybl yr oedd yr Iesu yn ei garu, yn canlyn, yr hwn hefyd a bwysase ar ei ddwyfron ef ar swpper, ac a ddywedase, Arglwydd, pwy yw'r hwn a'th fradycha di? Gan hynny pan welodd Petr hwn, ef a ddywedodd wrth yr Iesu, Arglwydd, beth am hwn? Yr Iesu a ddywedodd wrtho, os ewyllysiaf iddo arhos oni ddelwyf, beth yw hynny i ti? Canlyn di fy-fi. Yna'r aeth y gair hwn ym-mhlith y brodyr, na fydde y discybl hwnnw farw: eithr ni ddywedase'r Iesu wrtho, Ni bŷdd efe farw; ond, Os ewyllysiaf iddo arhos hyd oni ddelwyf, beth yw hynny i ti? Dymma'r discybl hwnnw, yr hwn sydd yn tystiolaethu am y pethau hyn, ac a scrifennodd y pethau hyn, ac ni a wyddom fod ei dystiolaeth ef yn wir. Ac y mae hefyd lawer o bethau eraill a wnaeth yr Iesu, y rhai pe scrifennid eb-ado-vn, nid wyf yn tybieid y cynhwyse y bŷd y llyfrau a scrifennid.

Dy'gwyl y gwirioniaid.

Y Colect.

HOll-gyfoethog Dduw, yr hwn a ddarfu i'r gwirioniaid dy dystion, ar y dydd hwn gyffessu dy foliant, nid gan ddywedyd, onid gan farw: Marweiddia, a lladd bob rhyw anwiredd ynom: fel y byddo yn ein ymwreddiad, i'n buchedd fynegu dy ffydd, yr hon ydym â'n tafod yn ei chyffessu, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

## Dy'gwyl y Gwirioniaid.

### Yr Epistol.



C mi a edrychais, ac wele Oen yn sefyll ar fynydd Sion, a chŷd ag ef bedair mil a saith ugain mil, a chanddynt henw ei Dâd ef yn scrifennedig yn eu talcennau. Ac mi a glywais lais o'r nêf fel llais llawer o ddyfroedd, ac fel llais taran fawr, ac mi a glywais lais telynorion yn canu ar eu telynau. Ac hwy a ganasant megis caniad newydd gar bron yr orseddfaingc, a char bron y pedwar anifail, a'r henuriaid: ac ni allei neb ddyscu y caniad hwnnw, ond y pedair mil, a'r saith ugain mil, y rhai a brynasid o'r ddaear. Y rhai hyn ydynt y sawl ni halogwyd â gwragedd, canys gweryfon ydynt, y rhai hyn sy yn dylyn yr Oen pa le bynnag yr aiff, y rhai hyn a brynwyd oddiwrth ddynion, yn flaen-ffrwyth i Dduw, ac i'r Oen. Ac ni chaed twyll yn eu genau hwynt, canys y maent yn ddifai gar bron gorseddfaingc Duw. Gwel.14.1.

### Yr Efengyl.



Ngel yr Arglwydd a ymddangosodd i Joseph trwy ei hun, gan ddywedyd, cyfod, cymmer y mâb-bychan a'i fam, a ffô i'r Aipht, a bydd yno hyd oni ddywedwyf i ti, canys ceisio a wna Herod y mâb-bychā i'w ddyfetha. Yntef pā gyfododd, a gymmerth y mâb-bychan a'i fam o hŷd nos, ac a giliodd i'r Aipht. Ac yno y bu hyd farwolaeth Herod, fel y cyflawnid yr hyn a ddywedodd yr Arglwydd trwy'r prophwyd, gan ddywedyd, O'r Aipht y gelwais fy Mâb. Yna Herod pan weles ei dwyllo gan y doethon a ffrommodd yn aruthr, ac ef a ddanfonodd, ac a laddodd yr holl fechgin y rhai oeddynt yn Bethlehē, ac yn ei holl gyffiniau, o ddwyflwydd oed, a thā hynny, wrth yr amser am yr hwn y gofynnase efe yn fanwel Mat.2.13.

i'r

doethion. Yna y cyflawnwyd yr hyn a ddywedasid trwy Jeremias y prophwyd, gan ddywedyd, Llêf a glywyd yn Rama, galar, ac wylofain, ac ochain mawr: Rachel yn wylo am ei phlant, ac ni fynne hi ei chyssuro am nad oeddynt.

## Y Sul gwedi y Natalig.

### Y Colect.

O Llalluog Dduw'r hwn a roddaist i ni &c. Megis ar Ddydd Natalig Christ.

### Yr Epistol.

Galat. 4. 1. Hyn yr wyf yn ei ddywedyd, tra fyddo yr etifedd yn fachgen, nid oes gwahaniaeth rhyngtho a gwâs, er ei fod yn arglwydd pob dim: eithr y mae efe tan ymgeledd-wŷr, a llywodraethwyr hyd yr amser a osodes y tad. Ac felly ninnau, pan oeddym fechgin yr oeddym gaethion tan wyddorion y bŷd. Eithr wedi dyfod cyflawnder yr amser, anfonodd Duw ei Fab wedi ei wneuthur o wraig, wedi ei wneuthur tan y ddeddf, fel yr adbryne y rhai oeddynt tan y ddeddf, fel y caem dderbyn mabwriaeth. Ac o herwydd eich bod yn feibion, yr anfonodd Duw Yspryd ei Fâb i'ch calonnau, yr hwn sydd yn llefain, Abba, y Tâd. Ac felly nid wyt mwy yn wâs, ond yn fâb, ac os mâb, etifedd hefyd i Dduw trwy Ghrist.

### Yr Efengyl.

Mat. 1. 1. Llyfr cenhedliad Jesu Ghrist, fâb Dafydd, fâb Abraham. Abraham a genhedlodd Isaac, ac Isaac a genhedlodd Jacob, ac Jacob a genhedlodd Judas a'i frodyr. Ac Judas a genhedlodd Phares, a Zara, o Thamar: A Phares a genhedlodd

lodd Esrom, ac Esrom a genhedlodd Aram. Ac A-
ram a genhedlodd Aminadab, ac Aminadab a gen-
hedlodd Naasson, a Naasson a genhedlodd Sal-
mon: a Salmon a genhedlodd Booz o Rachab, a
Booz a gēhedlodd Obed o Ruth, ac Obed a genhed-
lodd Jesse. Ac Jesse a genhedlodd Ddafydd frenhin,
a Dafydd frenhin a genhedlodd Salomon o'r hon
a fuase wraig Urias. A Salomon a genhedlodd
Roboam, a Roboam a genhedlodd Abia, ac Abia a
genhedlodd Asa. Ac Asa a genhedlodd Josaphat, ac
Josaphat a genhedlodd Joram, ac Joram a genhed-
lodd Ozias. Ac Ozias a genhedlodd Joatham, ac
Joatham a genhedlodd Achaz, ac Achaz a genhed-
lodd Ezechias. Ac Ezechias a genhedlodd Manasses
a Manasses a genhedlodd Amon, ac Amon a gen-
hedlodd Josias, ac Josias a genhedlodd Jechonias
a'i frodyr ynghylch amser y tramudiad i Babylon.
Ac yn ôl y tramudiad i Babylon, Jechonias a gen-
hedlodd Salathiel, a Salathiel a genhedlodd Zoro-
babel. A Zorobabel a genhedlodd Abiud, ac Abiud
a genhedlodd Eliacim, ac Eliacim a genhedlodd A-
zor. Ac Azor a genhedlodd Sadoc, a Sadoc a gen-
hedlodd Achim, ac Achim a gēhedlodd Eliud. Ac Eli-
ud a genhedlodd Eleazar, ac Eleazar a genhedlodd
Matthan, a Matthan a genhedlodd Jacob, ac Ja-
cob a genhedlodd Joseph gŵr Mair, o'r hon y ganed
Jesu yr hwn a elwir Christ. Yr holl oesoedd gan
hynny o Abraham i Ddafydd ydynt pedair cenhed-
laeth ar ddêg: ac o Ddafydd hyd y tramudiad i Ba-
bylon, pedair cenhedlaeth or ddêg: ac o'r tramudiad
i Babylon hyd Ghrist, pedair cenhedlaeth ar ddêg.
A genedigaeth Jesu Ghrist oedd fel hyn: wedi dywe-
ddio Mair ei fam ef ag Joseph, cyn eu dyfod hwy yn
ghŷd, hi a gafwyd yn feichiog trwy 'r Yspryd glân.
Ac Joseph ei gŵr hi am ei fod ef yn gyfiawn, ac heb
ewyllysio

ewyllysio ei hortio hi, a amcanodd ei rhoi hi ymmaith yn ddirgel. A thra yr ydoedd efe yn bwriadu hyn, wele Angel yr Arglwydd yn ymddangos iddo ef trwy ei hûn, gan ddywedyd, Ioseph, Mâb Dafydd, nac ofna gymmeryd Mair dy wraig, oblegid yr hyn a genhedlwyd ynddi sydd o'r Yspryd glân. A hi a escor ar fâb, a thi a elwi ei enw ef Iesu, oblegid efe a achub ei bobl rhag eu pechodau. A hyn oll a wnaethpwyd i gyflawni yr hyn a ddywedodd yr Arglwydd trwy'r prophwyd, gan ddywedyd, Wele y forwyn a fydd feichiog, ac a escor ar fâb, a hwy a alwant ei enw ef Emmanuel, yr hyn, os cyfieithir, yw, Duw gŷd â ni. Ac Ioseph pan ddeffroes o'i gwsc a wnaeth megis y gorchymynnase Angel yr Arglwydd iddo ef, ac a gymmerodd ei wraig. Ac nid adnabu efe hi oni escorodd hi ar ei Mâb cyntaf-anedig: a galwodd ei enw ef Iesu.

## Dydd Calan, neu Enwaediad Christ.

### Y Colect.

HOll-alluog Dduw, yr hwn a wnaethost ith wynfydedic Fâb dderbyn enwaediad, a bod yn ufydd i'r ddeddf er mwyn dŷn: Caniadhâ i ni iawn enwaediad yr yspryd, hyd pan fo ein calonnau, an holl aelodau wedi eu marwolaethu oddi wrth fydol a chnawdol anwydau, allu ym-mhob ryw beth ufyddhau i'th wynfydedic ewyllys, trwy'r un-rhyw dy Fâb Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

### Yr Epistol.

Rom.4.8.



Edwydd yw'r gŵr ni chyfrif yr Arglwydd bechod iddo. A ddaeth y dedwyddwch hyn ar yr enwaediad, ynte ar y dienwaediad hefyd? canys yr ydym yn dywedyd ddarfod cyfrif ffŷdd i Abraham yn gyfiawnder.

Pa

Pa fodd gann hynny y cyfrifwyd hi? ai pan oedd yn yr enwaediad, ynte yn y dienwaediad? nid yn yr enwaediad, onid yn y dienwaediad. Ac ef a gymmerth arwydd yr enwaediad yn insel cyfiawnder y ffŷdd, yr hon oedd ganddo yn y dienwaediad, fel y bydde efe yn dâd pawb a gredent yn y dienwaediad, fel y cyfrifid y cyfiawnder iddynt-hwythau hefyd, ac yn dâd yr enwaediad, nid iddynt hwy yn unig, y rhai ydynt o'r enwaediad, onid i'r sawl hefyd a gerddant lwybrau ffŷdd ein Tâd Abraham, yr hon oedd yn y dienwaediad. Canys nid trwy y gyfraith y daeth yr addewid i Abraham, neu i'w hâd, y bydde efe yn etifedd y bŷd, eithr trwy gyfiawnder ffŷdd. Canys os y rhai sy o'r ddeddf yw'r etifeddion, gwnaed ffŷdd yn ofer, a'r addewid yn ddirym.

Yr Efengyl.

A Bu er cynted yr aeth yr angelion oddiwrth y bugeilddynion i'r nêf, ddywedyd o honynt wrth ei gilydd, awn ninnau hyd Bethlehem, a gwelwn y peth hyn a ddarfu, yr hyn a hyspysodd yr Arglwydd i ni. A hwynt a ddaethant ar frŷs, ac a gawsant Mair, ac Joseph, a'r dŷn bach yn gorwedd yn y preseb. A phan welsant, hwy a gyhoeddasant yr hyn a ddywedasid wrthynt am y mab-bychan hwnnw. A phawb o'r a'u clywsant, a ryfeddasant am y pethau a ddywedasid gan y bugeiliaid iddynt. Eithr Mair a gadwodd, y pethau hyn oll, gan eu hystyried hwynt yn ei chalon. A'r bugeiliaid a ddychwylasant, gan ogoneddu, a moliannu Duw, am bob peth o'r a glywsent, ac a welsent, fel y dywedasid wrthynt. A phan ddaeth yr wythfed dŷdd i enwaedu ar y mâb-bychan, galwyd ei enw ef Jesu, yr hwn a henwasid gan yr Angel, cyn ei genhedlu ef yn y groth. Luc. 2. 15.

Os bydd ſul rhwng yr Yſtwyll a'r Calan, Yna'r arferir

yr un

yr un Colect, Epiſtol, ac Efengyl ar y Cymmun, ac a ddywetpwyd ar Ddydd Calan.

## ¶ Dy'gwyl Yſtwyll.

### Y Colect.

DUw, yr hwn trwy dywyſogaeth ſeren a ddangoſaiſt dy vn Mâb i'r cenhedloedd: Caniatha yn drugarog i ni y ſawl ydym i'th adnabod yr awr hon drwy ffydd, allu yn ôl y fuchedd hon gael mwyniant dy ogoneddus dduwdod, trwy Jeſu Griſt ein Harglwydd. Amen.

### Yr Epiſtol.

Eph. 3. 1. ER mwyn hyn yr wyf fi Paul yn garcharor Chriſt Jeſu troſoch chwi y cenhedloedd, os clywſoch am orchwyliaeth grâs Duw, yr hon a roddwyd i mi tu ag attoch chwi: canys trwy weledigaeth yr hyſpyſodd efe y dirgelwch hwnnw i mi (megis yr ſcrifennais o'r blaen ar ychydig eiriau, wrth yr hyn pan ddarllenoch y gellwch wybod fy-neall yn-nirgelwch Chriſt) yr hwn yn oeſoedd eraill nis eglurwyd i feibion dynion, fel y mae'r awr-hon wedi ei ddatcuddio i'w ſanctaidd Apoſtolion a Phrophwydi trwy'r Yſpryd; ſef, bod y cenhedloedd yn gyd-etifeddion hefyd, ac yn gyd-gorph, ac yn gyfrannogion o'i addewid ef yn Ghriſt trwy'r Efengyl, i'r hon i'm gwnaed i yn wenidog trwy roddiad grâs Duw, yr hwn a roddwyd i mi trwy nerth ei feddiant ef. I mi y lleiaf i gŷd o'r holl ſainct y rhoddwyd y grâs hyn, i efengylu ymmyſc y cenhedloedd anchwiliadwy olud Chriſt, ac i egluro i bawb beth yw cymdeithas y dirgelwch yr hwn oedd guddiedig o ddechreuad y bŷd yn-Nuw, yr hwn a wnaeth bob peth trwy Jeſu Ghriſt. Fel y byddo'r awron yn hyſpyſol trwy'r eglwys i'r tywyſogaethau, a'r awdurdodau yn y nefolion bethau, amryw fath ddoethineb Duw, yn ôl yr arfaeth dragywyddol yr hon a weithiodd efe yn-

Ghrist Iesu ein Harglwydd, yn yr hwn y mae i ni rydd-did, a dyfodfa mewn hyder trwy ei ffydd ef.

Yr Efengyl.



Yna pan aned yr Iesu yn Bethlehem dinas o Judêa yn nyddiau Herod frenhin, wele, doethion a ddaethant o'r dwyrain i Jerusalem, gan ddywedyd, pa le y mae brenhin yr Iuddewon yr hwn a anwyd? canys gwelsom ei seren ef yn y dwyrain, a daethom i'w addoli ef. Pan glywodd Herod frenhin hyn, efe a gyffroes, a Jerusalem oll gyd ag ef. Ac wedi casclu o honaw ef yr holl Archoffeiriaid, ac scrifennyddion y bobl, efe a ymofynnodd â hwynt pa le y genid Christ. Ac hwy a ddywedasant wrtho ef, yn Bethlehem Judêa, canys felly yr scrifennwyd trwy'r prophwyd. Ti the Bethlehē gwlâd Juda, nid lleiaf wyt ym-mhlith tywysogion Juda: canys o honot ti y daw y tywysog yr hwn a fugeilia fy-mhobl Israel. Yna Herod wedi galw y doethiō yn ddirgel, a'u holodd hwynt yn fanwl am yr amser yr ymddangosase y seren. Ac efe a'u danfones hwynt i Bethlehem, gan ddywedyd: ewch, ac ymofynnwch yn fanwl am y mâb-bychan, ac wedi i chwi ei gaffael ef, mynegwch i mi drachefn, fel y gallwyf finne ddyfod, a'i addoli ef. Hwythau wedi clywed y brenhin a aethant, ac wele, y seren yr hon a welsent yn y dwyrain a aeth o'u blaen hwynt hyd oni ddaeth hi a sefyll goruwch y lle'r oedd y mâb-bychan. A phan welsant y seren, llawenhau a wnaethant â llawenydd mawr tros ben. A phan ddaethant i'r tŷ, hwy a gawsant y mâb-bychan gyd â Mair ei fam, a chan syrthio i'r llawr hwy a'i haddolasant ef, ac a egorasant eu trysorau, ac a offrymmasant iddo anrhegion, sef aur, thus, a myrr. Ac wedi eu rhybuddio hwy gan Dduw trwy freuddwyd, na ddychwelent at Herod, hwy a aethant drachefn i'w gwlâd ar hyd ffordd arall. Matt.2.1.

Yr

Y Colect.

ARglwydd nyni a attolygwn i ti dderbyn yn drugarog weddiau dy bobl y sydd yn galw arnat: a chaniadhâ iddynt, ddeall a gwybod yr hyn a ddylent ei wneuthur, a chael hefyd râd a gallu i wneuthur yr vn-rhyw, trwy Jesu Grist ein Harglwydd. Amen.

Yr Epistol.



Rom.12.1. A Hynny yr wyf yn attolwg i chwi frodyr er trugareddau Duw roddi o honoch eich cyrph yn aberth byw, sanctaidd, cymmeradwy gan Dduw, yr hyn yw eich rhesymol wasanaeth. Ac na chyd-ymffurfiwch â'r bŷd hwn, eithr ymnewidiwch gan adnewyddiad eich meddwl, fel y galloch brofi beth yw ewyllys Duw, yr hwn sydd dda, a chymmeradwy, a pherffaith. Canys yr wyf yn dywedyd, trwy y grâs a roddwyd i mi, wrth bob vn sydd yn eich plith, na byddo i neb ddeall vwch-law y dyler deall, onid deall o honaw i fod yn sobr, fel y rhannodd Duw i bob vn fesur ffydd. Canys megys y mae i ni lawer o aelodau mewn vn corph, ac nad oes i'r holl aelodau yr vn swydd: felly ninnau er ein bod yn llawer, ydym vn corph yn-Ghrist, a phôb vn yn aelodau i'w gilydd.

Yr Efangyl.



Luc.2.41. R Hieni'r Jesu a aent i Jerusalem bob blwyddyn, ar ŵyl y Pâsc. A phan oedd efe yn ddeuddeng-mlwydd oed, hwynt a aethant i fynu i Jerusalem yn ôl defod yr ŵyl: ac wedi iddynt orphen y dyddiau, a hwynt yn dychwelyd, arhosodd y bachgen Jesu yn Jerusalem: ac ni ŵydde Joseph a'i fam ef. Eithr gan dybied ei fôd ef yn y fintai, myned a wnaethant daith diwrnod, ac hwy a'i ceisiasant ef ym-

mhlith

mhlith eu cenhedl a'u cydnabod. A phryd na chawsant ef, hwy a ddychwylasant i Jerusalem gan ei geisio ef. A bu yn ôl tridiau gael o honynt hwy ef yn y Deml yn eistedd ynghanol y Doctoriaid, yn gwrandaw arnynt, ac yn eu holi hwynt. A synnu a wnaeth ar bawb o'r a'i clywsant ef, am ei ddeall, a'i attebion. A phan welsant ef, aruthro a wnaethant; a'i fam a ddywedodd wrtho, fy mâb, pa ham y gwnaethost felly â ni? Wele, dy dâd a minne yn ofidus a'th geisiasom di. Ac ef a ddywedodd wrthynt, pa ham y ceisiech fi? Oni wyddech fod yn rhaid i mi fod ynghylch y pethau a berthynant i'm Tâd? Eithr hwynt ni ddeallasant y gair a ddywedodd efe wrthynt. Ac efe a aeth i wared gŷd â hwynt, ac a ddaeth i Nazareth, ac a fu ufydd iddynt. A'i fam ef a gadwodd yr holl eiriau hyn yn ei chalon. A'r Jesu a gynnyddodd mewn doethineb, a chorpholaeth, a ffafor gŷd â Duw, a dynion.

## Yr ail Sul gwedi 'r Ystwyll.

### Y Colect.

HOll-alluog a thragywyddol Dduw, yr hwn wyt yn llywiaw pob peth yn y nef a'r ddaiar, clyw yn drugarog airchion dy bobl, a chaniadhâ i ni dy dangneddyf holl ddyddiau ein bywyd. Amen.

### Yr Epistol.

CAn fod i ni amryw ddoniau yn ôl y grâs a roddwyd i ni, os prophwydoliaeth, bydded yn ôl cyssondeb y ffŷdd: neu os swydd, dylyn wn y swydd: neu os athro', rhodded athrawiaeth: neu os cynghorwr, edryched ar y cynghor: yr hwn a gyfranno, cyfranned mewn symlrwydd: a lywodraetha, llywodraethed yn ddiesceulus: a drugarhao, trugarhaed yn llawen. Bydded cariad heb ragrith. Case- Rom.12.6.

wch yr hyn ſydd ddrwg, a glynwch wrth yr hyn ſydd dda. Mewn cariad brawdol byddwch garedig i'w gilydd, gan flaenori ei gilydd yn rhoddi parch, Heb fod yn ddiog mewn aſtudrwydd, yn frydion yn yr Yſpryd, yn gwaſanaethu 'r Arglwydd, yn llawen mewn gobaith, yn ddioddef-gar mewn cyſtudd, yn barhaus mewn gweddi, yn cyfrannu wrth gyfreidiau 'r ſainct, ac yn dylyn rhoddi lletty. Bendithiwch y rhai ſy yn eich ymlid, bendithiwch meddaf, ac na felldithiwch. Byddwch lawen gŷd â 'r llawen, ac yn wylo gŷd â 'r wylofus. Byddwch yn vn-fryd â 'i gilydd. Na fyddwch vchel-feddwl, eithr yn gyd-oſtyngedig â 'r rhai iſel-râdd.

Yr Efangyl.

Ioan.2.1. R trydydd dydd yr oedd priodas yn Cana
Galilea: a mam yr Jeſu oedd yno. Galwyd, yr
Jeſu hefyd a'i ddiſcyblon i'r briodas. A phan
ballodd y gwin, mam yr Jeſu a ddywedodd wrtho, Nid oes ganddynt mor gwin. Yr Jeſu a ddywedodd wrthi, Beth ſydd i mi a wnelwyf â thi wraig? Ni ddaeth fy awr i etto. Ei fam ef a ddywedodd wrth y gwaſanaeth-wŷr, Beth bynnag a ddywedo ef wrthych, gwnewch. Ac ydd oedd yno chwech o ddwfr-leſtri meini wedi eu goſod, yn ôl defod puredigaeth yr Juddewon, y rhai a ddalyent bob vn ddau ffyrcyn, neu dri. Yr Jeſu a ddywedodd wrthynt, llenwch y dwfr-leſtri o ddwfr: a hwynt a'u llanwaſant hyd yr emyl. Ac ef a ddywedodd wrthynt, Gollyngwch yn awr, a dygwch at lywodraethwr y wledd: a hwy a ddugaſant. A phan broſodd llywodraeth-wr y wledd y dwfr a wnaethid yn win, (ac ni wydde o ba le y cawſid, ond y gwaſanaeth-wŷr y rhai a ollyngaſent y dwfr a wyddent) llywodraethwr y wlêdd a alwodd ar y priod-fâb, ac a ddywedodd wrtho, Pôb dŷn a oſyd y gwîn da yn gyntaf, a phan yſont yn dda,

yna

yna un a fyddo gwaeth: tithe a gedwaist y gwin da hyd yr awrhon. Hyn o ddechreu gwrthiau a wnaeth yr Iesu yn Cana Galilea, ac a eglurodd ei ogoniant, a'i ddiscyblon a gredâsant yntho.

## Y Trydydd Sûl gwedi 'r Ystwyll.

### Y Colect.

HOll-aluog a thragywyddol Dduw, edrych yn drugarog ar ein gwendid; ac yn ein holl beryglō, ac anghenion, estyn dy ddeheu-law i'n cymmorth, ac i'n hamddeffyn, trwy Grist ein Harglwydd. Amen.

### Yr Epistol.

NA fyddwch ddoethion yn eich tŷb eich hunain. Na thelwch i neb ddrwg am ddrwg: darperwch bethau onest yn-golwg pob dyn. Os yw bossibl, hyd y mae ynoch chwi, byddwch heddychlawn â phôb dŷn. Nac ymddielwch, rai anwyl, onid rhoddwch le i ddigofaint: canys y mae yn scrifennedig, I mi y mae dial, mi a'i talaf, medd yr Arglwydd. Am hynny os dy elyn a newyna, portha ef: os sycheda, dyro iddo ddiod: canys os gwnei hyn ti a bentyrri farwor ar ei ben ef. Na orchfyger di gan ddrygioni, eithr gorchfyga di ddrygioni trwy ddaioni. Rom.12.16.

### Yr Efengyl.

GWedi dyfod yr Iesu i wared o'r mynydd, llawer o bobloedd a'i dylynodd ef. Matt.8.1. Ac wele un gwahā-glwyfus a ddaeth ac a'i haddolodd ef, gan ddywedyd, Arglwydd, os mynni, ti a elli fy-nglanhau. A'r Iesu a estynnodd ei law, ac a gyffyrddodd ag ef, gan ddywedyd, mynnaf, glanhaer di: ac yn y fan ei wahan-glwyf ef a lanhâwyd. Yna y dywedodd yr Iesu wrtho, gwêl na ddywedech wrth neb, eithr dos ac ymddangos i'r offeiriad, ac offrymma y rhodd a orchymynnodd Moses er tystiolaeth iddynt. Ac wedi

dyfod yr Iesu i mewn i Capernaum, daeth atto ef Ganwriad, gan ddeisyf arno, a dywedyd, Arglwydd, y mae fy-ngwâs yn gorwedd gartref yn glâf o'r parlys, ac mewn poen ddirfawr. A'r Iesu a ddywedodd wrtho ef, mi a'i hiachâf ef pan ddelwyf. A'r Canwriad a attebodd, ac a ddywedodd, Arglwydd, nid ydwyf deilwng i ddyfod o honot tan fyngrhonglwyd, eithr yn unig dywed y gair, a'm gwâs a iacheir. Canys dŷn ydwyf finneu tan awdurdod, ac y mae gennif fil-wyr tanaf, a dywedaf wrth hwn, cerdda, ac efe a aiff, ac wrth arall, dyred, ac ef a ddaw, ac wrth fy-ngwâs, gwnâ hyn, ac ef a'i gwnâ. A'r Iesu wrth glywed hyn a ryfeddodd, ac a ddywedodd wrth y rhai oeddynt yn canlyn, yn wir, meddaf i chwi, ni chefais gymmaint ffŷdd, na ddo yn yr Israel. Ac yr wyf fi yn dywedyd i chwi, y daw llawer o'r dwyrain, a'r gorllewin ac a eisteddant gŷd ag Abraham, ac Isaac, ac Iacob yn-nheyrnas nefoedd. A phlant y deyrnas a deflir i'r tywyllwch eithaf, yno y bydd wylofain, a rhingcian dannedd. Yna y dywedodd yr Iesu wrth y Canwriad, dos ymmaith, a megis y credaist bydded i ti. A'i wâs a iachawyd yn yr awr honno.

¶ Y pedwerwydd Sul gwedi'r Ystwyll.

Y Colect.

DUw, yr hwn a wyddost ein bod wedi ein gosod mewn cymmaint a chynnifer o beryglon, ac o herwydd gwendid dynol na allwn sefyll bob amser yn uniawn: caniadhâ i ni iechyd enaid a chorph, hyd pan fo am yr hyn oll yddym ni yn ei oddef am bechod, allu o honom drwy dy borth di eu gorfod a'u gorchfygu, trwy Grist ein Harglwydd. Amen.

## Yr Epistol.

YMddarostynged pob perchen enaid i'r aw- Rom.13.1.
durdodau goruchel, am nad oes awdurdod
anid oddiwrth Dduw, a'r awdurdodau
sydd, gan Dduw y maent wedi eu hordeinio. Am
hynny pwy bynnag sydd yn ymosod yn erbyn yr aw-
durdod, sydd yn gwrthwynebu ordeinhâd Duw: a'r
rhai a wrthwynebant a dderbyniant farnedigaeth
iddynt eu hunain. Canys tywysogion nid ydynt ofn
i weithredoedd da, eithr i'r rhai drwg. A fynni nad
ofnech yr awdurdod? gwnâ 'r hyn sydd dda, a thi a
gei glôd gantho. Canys gweinidog Duw ydyw er
llês i ti. Eithr os gwnei'r hyn sydd ddrwg, ofna: am
nad yw efe yn dwyn y cleddyf yn ofer: canys gweni-
dog Duw yw efe, i ddial llid ar yr hwn a wnelo
ddrwg. Herwydd pa ham anghenrhaid yw ymdda-
rostwng, nid yn unig o herwydd llid, ond er mwyn
cydwybod. Canys am hynny y telwch deyrn-ged:
oblegid gwasanaeth-wŷr Duw ydynt, yn ymroi i'r
peth ymma. Telwch gan hynny i bawb eu dyledion:
teyrn-ged i'r neb a ddyle deyrn-ged: toll i'r hwn a
ddyle doll: ofn i'r hwn a ddyle ofn: parch i'r hwn a
ddyle barch.

## Yr Efengyl.

AC wedi iddo fyned i'r llong, ei ddiscyblon Mat.8.23.
a'i canlynasant ef. Ac wele, cynnwrf mawr
a gyfodes yn y môr, fel y cuddiwyd y llong
gan y tonnau: eithr efe oedd yn cyscu. A
daeth ei ddiscyblon atto, ac a'i deffroesant, gan ddy-
wedyd, ô Arglwydd, cadw ni, darfu am danom ni.
Ac ef a ddywedodd wrthynt, pa ham yr ydych yn
ofnus, ô chwi o ychydig ffŷdd? yna y cododd efe, ac
y ceryddodd y gwyntoedd, a'r môr, a bu tawelwch
mawr. A'r dynion a ryfeddasant gan ddywedyd, pa

 ryw

ryw un yw hwn, canys y gwyntoedd a'r môr ydynt yn ufyddhau iddo ef. Ac wedi ei ddyfod ef i'r lan arall i wlâd y Gergesiaid, dau ddieflig a gyfarfuant ag ef, y rhai a ddeuent o'r monwentau yn dra creulon, fel na alle neb fyned y ffordd honno. Ac wele, hwy a lefasant, gan ddywedyd, Jesu Fâb Dafydd, beth sydd i ni a wnelom â thi? a ddaethost ti ymma i'n poeni cyn yr amser? Ac yr oedd ym mhell oddiwrthynt genfaint o fôch lawer yn pori. A'r cythreuliaid a ddeisyfasant arno, gan ddywedyd, os bwri ni allan, gâd i ni fyned i'r genfaint fôch. Ac ef a ddywedodd wrthynt, ewch: ac hwy gwedi myned allan, a aethant i'r genfaint fôch: ac wele, yr holl genfaint fôch a ruthrodd tros y dibyn i'r môr, ac a fuant feirw yn y dyfroedd. Yna ffoawdd y meichiaid, ac wedi eu myned hwy i'r ddinas, hwy a fynegasant bob peth, a pha beth a ddarfuase i'r rhai yr oedd y cythreuliaid ynddynt. Ac wele, 'r holl ddinas a ddaeth allan i gyfarfod â 'r Jesu: a phan ei gwelsant, attolygasant iddo ymadel o'u cyffiniau hwynt.

## Y pumed Sûl gwedi 'r Ystwyll.

### Y Colect.

ARglwydd attolwg i ti gadw dy Eglwys 'ath dylu yn wastad yn dy wir grefydd, fel y gallont hwy oll, y sawl ydynt yn ymgynnal yn unic, wrth dy nefol rad, byth gael nawdd dy ddiogel amddeffyn, trwy Grist ein Harglwydd. Amen.

### Yr Epistol.

Coloss. 3. 12. MEgis etholedigion Duw, sanctaidd, ac anwyl, gwiscwch ymyscaroedd tosturiaeth, cymmwynasgarwch, gostyngeiddrwydd, llaryeidd-dra, ac ymaros: gan gyd-ddwyn a'i gilydd, a ma-

a maddeu i'w gilydd os bydd gan un gweryl yn erbyn neb, megis y maddeuodd Christ i chwi, felly gwnewch chwithau. Ac uwch ben hyn oll, gwiscwch gariad, yr hwn yw rhwymyn perffeithrwydd. A llywodraethed tangnheddyf Duw yn eich calonnau, i'r hwn y'ch galwyd yn un corph, a byddwch ddiolchgar. Preswylied gair Christ ynoch yn helaeth ym-mhôb doethineb, gan eich dyscu, a'ch cynghori eich hunain mewn psalmau, a hymnau, ac odlau ysprydol, gan ganu yn eich calon i'r Arglwydd mewn grâs. A pha beth bynnag a wneloch ar air, neu weithred, gwnewch bob dim yn enw 'r Arglwydd Iesu, gan ddiolch i Dduw a'r Tâd trwyddo ef.

Yr Efangyl.



Teyrnas nefoedd sydd gyffelyb i ddŷn a hauodd hâd da yn ei faes. A thra yr oedd y dynion yn cyscu, ydaeth ei elyn ef, ac a hauodd efrau ym-mhlith y gwenith, ac a aeth ymmaith. Ac wedi i'r egin dyfu, a dwyn ffrwyth, yna 'r ymddangosodd yr efrau hefyd. A gweision gŵr y tŷ a ddaethant, ac a ddywedasant wrtho, Arglwydd, oni heuaist ti hâd da yn dy faes? o b'le gan hynny y mae 'r efrau ynddo? Yntef a ddywedodd wrthynt, y gelyn ddŷn a wnaeth hyn: a'r gweision a ddywedasant wrtho, a fynni di gan hynny i ni fyned a'u casclu hwynt? ac efe a ddywedodd, na fynnaf, rhag i chwi wrth gasclu 'r efrau ddiwreiddio 'r gwenith gŷd â hwynt. Gadewch i'r ddau gŷd-tyfu hyd y cynhayaf, ac yn amser y cynhayaf mi a ddywedaf wrth y medel-wŷr, cesclwch yn gyntaf yr efrau, a rhwymwch yn yscubau i'w llosci, a chesclwch y gwenith i'm yscubor. Mat.13.24.

Y chweched Sûl (o bydd cynnifer) yr arferir yr vn Collect, yr vn Epistol, a'r vn Efangel, ac ar y pummed Sûl.

## Y Sûl a elwir Septuagesima.

### Y Colect.

ARglwydd attolygwn i ti wrando yn ddarbodus weddiau dy bobl, fel y byddo i ni y rhai a gyfiawn boenir dros ein camweddau, allu yn drugarog gael ein ymwared gan dy ddaioni di, er gogoniant dy Enw, trwy Iesu Ghrist ein Ceidwad, yr hwn a fywia, ac a wladycha yn oes oesoedd. Amen.

### Yr Epistol.

1.Cor.9.24. 
Ni wyddoch chwi am y rhai sy yn rhedeg mewn gyrfa, fod pawb yn rhedeg, ond bôd vn yn myned â'r gyngwystl: felly rhedwch fel yr ennilloch y gyngwystl. Hefyd, y mae pôb vn a ymdrecho am gamp, yn ymgadw rhag pob dim, ac hwynt er mwyn cael coron ddarfodedig, a ninnau vn annarfodedig. Am hynny yr wyf fi felly yn rhedeg, nid megis ar amcan, felly yr wyf yn ymdrechu, nid fel vn yn curo'r awyr. Ond yr wyf fi yn cospi fy-nghorph, ac yn ei ddarostwng i wasanaeth, rhag mewn vn modd wedi i mi bregethu i eraill, fy môd fy hunan yn anghymmeradwy.

### Yr Efengyl.

Mat.20.1. 
Eyrnas nefoedd sydd debyg i ddŷn o berchen tŷ, yr hwn a aeth allan a hi yn dyddhau, i gyflogi gweith-wŷr i'w win-llan. Ac wedi iddo gytuno â'r gweith-wŷr er ceiniog y dŷdd, ef a'u hanfonodd hwy i'w win-llan. Ac efe a aeth allan

ynghylch

ynghylch y drydedd awr, ac a welodd eraill yn se-
fyll yn segur yn y farchnadfa, ac efe a ddywedodd
wrthynt, ewch chwithau hefyd i'r winllan, a pha
beth bynnag a fydd cyfiawn mi a'i rhoddaf i chwi,
ac hwy a aethant ymmaith. A thrachefn ef a aeth
allan ynghylch y chweched a'r nawfed awr, ac a
wnaeth yr un môdd. Ac efe a aeth allan ynghylch
yr unfed awr ar ddêg, ac a gafas eraill yn sefyll
yn segur, ac a ddywedodd wrthynt, pa ham yr
ydych chwi yn sefyll ymma ar hŷd y dŷdd yn segur?
Dywedasant wrtho, am na chyflogodd neb nyni:
yntef a ddywedodd wrthynt, ewch chwithau he-
fyd i'r win-llan, a pha beth bynnag fyddo cyfiawn,
chwi a'i cewch. A phan aeth hi yn hwyr, Arglw-
ydd y win-llan addywedodd wrth ei oruchwiliwr,
galw'r gweith-wŷr, a dyro iddynt eu cyflog, gan
ddechrau o'r rhai diwethaf hyd y rhai cyntaf. A
phan ddaeth y rhai a gyflogasid ynghylch yr unfed
awr ar ddêg, cafodd pob un geiniog. A phan dda-
eth y rhai cyntaf, hwy a dybiasant y caent fwy:
eithr hwythau a gawsant bob un geiniog. Ac we-
di iddynt gael, grwgnach a wnaethant yn erbyn
gŵr y tŷ, gan ddywedyd, un awr y gweithiodd y rhai
olaf hyn, a thi a'u gwnaethost hwynt yn gystal â
ninnau, y rhai a ddugasom bwys y dŷdd, a'r gwrês.
Yntef a attebodd i un o honynt, ac a ddywedodd, y
cyfaill, nid ydwyf yn gwneuthur cam â thi: ond
er ceiniog y cytunaist â mi? cymmer yr hyn sydd
eiddot ti, a dos ymmaith: yr ydwyf yn ewyllysio
rhoddi i'r olaf hwn megis i tithe. Onid cyfraith-
lawn i mi wneuthur a fynnwyf am yr eiddof fi? a
ydyw dy lygad di yn ddrwg am fy mod i yn dda?
felly y bydd y rhai olaf yn flaenaf, a'r rhai blaenaf
yn olaf. Canys llawer sydd wedi eu galw, ac ychy-
dig wedi eu dewis.

## Y Sûl a elwir Sexagesima.

### Y Colect.

O Arglwydd Dduw, yr hwn a weli nad ydym ni yn ymddyried mewn vn weithred a wnelom: Caniadhâ yn drugarog fod i ni drwy dy nerth, amddeffyn rhag pob gwrthwyneb, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

### Yr Epistol.

2.Cor.11.19.



R ydych yn dioddef ffyliaid yn llawen, gan fôd eich hun yn synhwyrol. Canys goddefwch pe caethiwe vn chwi, pe bai vn i'ch llyngcu, pe bai vn yn dwyn oddiarnoch, pe bai vn yn ymdderchafu, pe tarawe vn chwi ar eich ŵyneb. Am amharch yr ydwyf yn dywedyd: megis pe buasem weiniaid: eithr ym-mha beth bynnag y byddo neb hŷf (yr wyf yn dywedyd yn ffôl) hŷf wyf finne hefyd. Hebrêaid ydynt, felly finne: Israeliaid ydynt, felly finne: hâd Abraham ydynt, felly finne: gweinidogion Christ ydynt, (yr ydwyf yn dywedyd yn ffôl) mwy wyf fi: mewn poenau yn amlach: mewn gwialennodiau tros fesur: yngharcharau yn amlach: ym-mron angau yn fynych. Gan yr Iuddewon pum-waith y derbyniais ddeu'gain gwialennod onid vn. Tair-gwaith i'm curwyd â gwiail: vn-waith y'm llabyddiwyd: teir-gwaith y torrodd llong arnaf: diwrnod a noswaith y bûm yn y dyfnfôr. Mewn teithiau yn fynych: ym-mheryglon llif-ddyfroedd: ym-mheryglon lladron: ym-mheryglon fy-nghenedl fy hun: ym-mheryglon gan y cenhedloedd: ym-mheryglon yn y ddinas: ym-mheryglon yn yr anialwch: ym-mheryglon ar y môr:

ym-mheryglon

ym-mheryglon ym-mhlith brodyr gau: mewn blinder, a lludded: mewn anhunedd yn fynych: mewn newyn, a syched: mewn ymprydiau yn fynych: mewn anwyd, a noethni. Heb law y pethau sy'n digwydd oddiallan, y mae yr ymosod beunyddol arnaf, sef y gofal tros yr holl eglwysi. Pwy sy wan, nad wyf finne wan? pwy a rwystrir, na loscwyf finne? Os rhaid i mi orfoleddu, mi a orfoleddaf yn y pethau sy yn perthyn i'm gwendid. Duw a Thâd ein Harglwydd ni Iesu Ghrist, yr hwn sydd fendigedig yn oes oesoedd, a ŵyr nad wyf yn dywedyd celwydd.

## Yr Epistol.



Gwedi i lawer o bobl ymgynnull yngh-hyd, a chyrchu atto o bob dinas, efe a ddywedodd ar ddammeg. Yr hauwr a aeth allan i hau ei hâd, ac fel yr oedd ef yn hau, peth a syrthiodd ar ymmyl y ffordd, ac a fathrwyd, ac ehediaid y nêf a'i bwytaodd. A pheth arall a syrthiodd, ar y graig, a phan eginodd, y gŵywodd, am nad oedd iddo wlybwr. Ac arall a syrthiodd ym-mŷsc drain, a'r drain a gyd-tyfasant, ac a'i tagasant ef. Ac arall a syrthiodd ar dîr da, ac a eginodd, ac a ddûg ffrwyth ar ei ganfed. Wrth ddywedyd y pethau hyn, ef a lefodd: y neb sydd â chlustiau iddo i wrandaw, gwrandawed. A'i ddiscyblon a ofynnasant iddo, gan ddywedyd, pa ddammeg oedd hon? Yntef a ddywedodd, i chwi y rhoddwyd gwybod dirgeloedd teyrnas Dduw, eithr i eraill ar ddamhegion, fel yn gweled na welant, ac yn clywed na ddeallant. Ac dymma 'r ddammeg, yr hâd yw gair Duw. A'r rhai ar ymmyl y ffordd ydyw y rhai sy yn gwrando, Luc. 8. 4.

wedi

wedi hynny y mae diafol yn dyfod, ac yn dwyn ym= maith y gair o'u calonnau hwynt, rhag iddynt gan gredu fod yn gadwedig. A'r rhai ar y graig yw y rhai pan glywant a dderbyniant y gair yn llawen: eithr y rhai hyn nid oes ganddynt wreiddyn, y rhai ydynt yn credu tros amſer, ac yn amſer profediga= eth yn cilio. A'r hwn a ſyrthiodd ym-myſc drain, yw y rhai a wrandawſant, ac wedi iddynt fyned ym= maith, hwy a dagwyd gan ofalon, a golud, a meluſ= wedd buchedd, ac nid ydynt yn dwyn ffrwyth. A'r hwn a ſyrthiodd ar y tîr da, yw y rhai â chalon ry= wiog dda, ydynt yn gwrando 'r gair, ac yn ei gadw, ac ydynt yn ffrwytho trwy ymmynedd.

## Y Sûl a elwir Quinquageſima.

### Y Colect.

O Arglwydd, yr hwn wyt yn dyſcu i ni, na thâl dim ein holl weithredoedd a wnelom heb gariad perffaith, anfon dy Yſpryd glân, a thywallt yn ein calonnau ragorol ddawn cariad perffaith, gwir rwymyn tangneddyf, ac holl rinweddau da, heb yr hwn pwy bynnac ſydd yn byw a gyfrifir yn farw ger dy fron di: Caniadhâ hyn er mwyn dy vn Mâb Jeſu Grist. Amen.

### Yr Epiſtol.

1.Cor.13.1. E llefarwn â thafodau dynion, ac angelion, a mi heb gariad gennif, yr wyf fel efydd yn ſeinio, neu cymbal yn tingcian. A phe bydde gennif broph= wydoliaeth, a gwybod o honof y dirge= lion oll, a phob gwybodaeth, a phe bae gennif yr holl ffydd, fel y gallwn ſymmudo mynyddoedd, ac heb fôd gennif gariad, nid wyfi ddim. A phe porthwn y tlodion am holl dda, a phe rhoddwn fy-nghorph i'm

llosci,

llosci, ac heb gariad gennif, ni wnai hyn ddim llesâd i mi. Cariad sydd ddyoddefus, cariad sydd gymmwynasgar, cariad ni chenfigenna, cariad nid yw anhydyn, nid yw yn ymchwyddo, nid yw yn gwneuthur yn anweddaidd, nid yw yn ceisio'r eiddi ei hunan, ni chythruddir, ni feddwl ddrŵg, nid yw lawen am anghyfiawnder, onid cŷdlawenhau y mae â'r gwirionedd. Y mae yn goddef pob dim, yn credu pob dim, yn gobeithio pob dim, yn ymaros â phob dim. Cariad byth ni chwymp ymmaith, er pallu prophwydoliaethau, a pheidio tafodau, a diflannu gŵybodaeth. Canys o ran y gŵyddom, ac o ran yr ydym yn prophwydo. Eithr pan ddelo yr hyn sydd berffaith, yna yr hyn sydd o ran a ddeleuir. Pan oedd wn yn fachgen, fel bachgen yr ymddiddanwn, fel bachgen y deallwn, fel bachgen y meddyliwn: ond pan aethym yn ŵr, mi a rois heibio fachgenneiddrwydd. Canys gweled yr ydym yr awrhon trwy ddrych mewn dammeg, ac yna y gwelwn ŵyneb yn ŵyneb: yn awr yr adwaen o ran, ond yna yr adnabyddaf megis y'm hadwaenir. Yr awron y mae yn arhos, ffydd, gobaith, a chariad; y tri hyn, a'r mwyaf o'r rhai hyn yw cariad.

Yr Efengyl.

YR Iesu a gymmerth atto y deu-ddeg, ac a ddywedodd wrthynt, wele ni yn myned i fynu i Ierusalem, a chyflawnir i Fâb y dŷn bob peth o'r sydd yn scrifennedig trwy'r prophwydi. Canys ef a draddodir i'r cenhedloedd, ac a watworir, a gwneir yn drahaus ag ef, ac a boerir arno. Ac wedi iddynt ei fflangellu, lladdant ef, eithr ef a adgyfyd y trydydd dŷdd. Ac ni ddeallasant hwy ddim o'r pethau hyn, a'r gair hwn oedd guddiedig oddiwrthynt, ac ni ŵybuant y pethau a ddywetpwyd. Bu hefyd, ac efe yn nessau at Iericho, i ryw vn

Luke 18.31.

dall

dall fod yn eistedd gar llaw 'r ffordd, yn cardotta. A phan glybu efe y dyrfa yn myned heibio, efe a ofynnodd, pa beth oedd hyn. Ac hwy a fynegasant iddo mai Iesu o Nazareth oedd yn myned heibio. Yntef a lefodd, gan ddywedyd, Iesu Fâb Dafydd, trugarhâ wrthif. A'r rhai oeddynt yn myned o'r blaen a'i ceryddasant ef i dewi: yntef a lefodd fwy-fwy, Mâb Dafydd, trugarhâ wrthif. A'r Iesu a safodd, ac a orchymynnodd ei ddwyn ef atto: a phan ddaeth efe yn agos, ef a ofynnodd iddo, gan ddywedyd, pa beth a fynni i mi ei wneuthur i ti? yntef a ddywedodd, Arglwydd, cael fy-ngolwg. A'r Iesu a ddywedodd wrtho, cymmer dy olwg, dy ffydd a'th iachaodd. Ac yn y man ef a gafodd ei olwg, ac a'i canlynodd ef, gan ogoneddu Duw: a'r holl bobl pan welsant hyn, a roesant foliant i Dduw.

## Y Dydd cyntaf o'r Grawys.

### Y Colect.

HOll gyfoethog a thragywyddol Dduw, yr hwn ni chasheî ddim a wnaethost, ac a faddeui bechodau pawb y sy edifeiriol; crêa a gwna ynom newydd a drylliedic galon; hyd pan fo i ni gan ddyledus ddoluriaw am ein pechodau, a chyfaddef ein trueni, allu caffael gennit Dduw yr holl drugaredd, gwbl faddeuaint a gollyngdod, trwy Grist ein Harglwydd. Amen.

### Yr Epistol.

Ioel.2.12. 
DYchwelwch attaf â 'ch holl galon, mewn ympryd, mewn wylofain, ac mewn galar. A rhwygwch eich calonnau, ac nid eich dillad, ac ymchwelwch at yr Arglwydd eich Duw: o herwydd grasslawn, a thrugarog yw efe, hwyrfrydig

dig

dig i ddigofaint, ac aml o drugaredd, ac edifeiriol am ddrwg. Pwy a wyr a drye efe, ac edifarhau, a gweddillo bendith ar ei ôl, sef bwyd offrwm, a diod offrwm i'r Arglwydd eich Duw chwi? Cenwch udcorn yn Sion, gosodwch ympryd, gelwch y gynnulleidfa. Cesclwch bobl, gosodwch gymmanfa, cynnhullwch henuriaid, cesclwch blant, a'r rhai yn sugno bronnau: deued y priod-fâb allan o'i stafell, a'r briod-ferch allan o stafell ei gwely. Wyled yr offeiriaid, gweinidogion yr Arglwydd, rhwng y porth a'r allor, a dywedant: arbed dy bobl ô Arglwydd, ac na ddyro dy etifeddiaeth i warth, i lywodraethu o'r bobloedd arnynt: pa ham y dywedant ym-mhlith y bobloedd, pa le y mae eu Duw hwynt?

## Yr Efengyl.



PAn ymprydioch, na fyddwch wynebsarrig fel rhagrith-wyr, canys anffurfio eu hwynebau a wnânt, er ymddangos i ddynion fod yn ymprydio: yn wîr meddaf i chwi, y maent yn derbyn eu gwobr. Eithr pan ymprydiech di, ennei- Mat.6.16.
nia dy ben, a golch dy wyneb, rhag ymddangos i ddynion dy fod yn ymprydio, onid i'th Dâd yr hwn sydd yn y dirgel, a'th Dâd yr hwn a wêl yn y dirgel, a dâl i ti yn yr amlwg. Na chesclwch drysorau i chwi ar y ddaear, lle y mae gwyfyn, a rhŵd yn llygru, a lle mae lladron yn cloddio trwodd, ac yn lladratta. Eithr cesclwch i chwi drysorau yn y nêf, lle nid oes na gwyfyn na rhŵd yn llygru, a lle ni's cloddia lladron drwodd, ac ni's lladrattant. Canys lle y mae eich trysor, yno y bŷdd eich calon hefyd.

## Y Sûl cyntaf yn y Grawys.

### Y Colect.

O Arglwydd, yr hwn er ein mwyn a ymprydiaist ddeugain nhiwrnod, a deugain nhôs, dyro i ni râd i ymarfer o gyfryw ddirwest, gan ostwng ein cnawd i'r Yspryd, fel y byddo i ni byth ufyddhau i'th dduwiol annog, mewn iawnder a gwîr sancteiddrwydd, i'th anrydedd, a'th ogoniant, yr hwn wyt yn byw, ac yn teyrnasu yn oes oessoedd. Amen.

### Yr Epistol.



2.Cor.6.1. Ny-ni gan gyd-weithio ydym yn cynghori i chwi, na dderbynioch râs Duw yn ofer. (Canys, mêdd efe, yn amser cymmeradwy y'th wrandewais, ac yn-nydd iechydwriaeth y'th gynhorthwyais: wele yn awr yr amser cymmeradwy, wele yn awr ddŷdd yr iechydwriaeth) Heb roddi dim achos tramgwydd mewn dim, rhag beio ar y weinidogaeth. Eithr gan ein gosod ein hun allan ymhob peth fel gweinidogiō Duw, mewn ymynedd mawr, mewn cystuddiau, mewn anghenion, ac mewn cyfyngderau, mewn gwialēnodiau, mewn carcharau, mewn terfyscau, mewn poenau, yngwiliadwriaethau, mewn ymprydiau, mewn purdeb, mewn gwybodaeth, mewn hir-ymaros, mewn tiriondeb, yn yr Yspryd glân, mewn cariad diragrith, yngair gwirionedd, yn nerth Duw, mewn arfau cyfiawnder ar y llaw ddehau, ac ar y llaw asswy, mewn parch ac amharch, mewn anghlod, a chlôd: megis twyllwyr, ac er hynny yn eir-wir: megis anadnabyddus, ac er hynny yn adnabyddus: megis yn meirw, ac wele ni yn fyw, megis wedi ein cospi, ac heb ein lladd: megis yn dristion, ac etto yn wastad yn llawen: megis yn dlodion, ac etto yn cyfoethogi llawer: megis heb ddim cennym, ac etto yn meddiannu pob peth.

## Yr Efengyl.



Na'r arweiniwyd yr Iesu i'r ynialwch gan Mat.4.1.
yr yspryd i'w demptio gan ddiafol. Ac wedi
iddo ymprydio ddeu'gain nhiwrnod, a deu'-
gain nôs, yn ôl hynny efe a newynodd. Yna
y daeth y temptiwr atto ef, ac a ddywedodd, os ti yw
Mâb Duw, arch i'r cerrig hyn fod yn fara. Yntef a
attebodd, ac a ddywedodd, y mae yn scrifennedig,
Nid trwy fara yn unig y bydd byw dŷn, ond trwy
bob gair sydd yn dyfod o enau Duw. Yna y cymm-
erth diafol ef i'r ddinas sanctaidd, ac a'i gosodes ef ar
binacl y Deml, ac a ddywedodd wrtho os mâb Duw
wyt ti, bwrw dy hun i lawr: canys scrifennedig yw,
y rhŷdd efe orchymmyn i'w angelion am danat, ac
hwy a'th ddygant yn eu dwylo, rhag taro o honot dy
droed wrth garreg. Yr Iesu a ddywedodd wrtho, y
mae yn scrifennedig trachefn, na themptia 'r Ar-
glwydd dy Dduw. Trachefn y cymmerth diafol ef i
fynydd tra uchel, ac a ddangosodd iddo holl deyrna-
soedd y bŷd a'u gogoniant, ac a ddywedodd wrtho,
hyn oll a roddaf i ti, os syrthi i lawr a'm haddoli i.
Yna y dywedodd yr Iesu wrtho, Ymmaith Satan:
canys scrifennedig yw, Yr Arglwydd dy Dduw a a-
ddoli, ac ef yn unig a wasanaethi. Yna y gadawodd
diafol ef, ac wele, angelion a ddaethant, ac a weina-
sant iddo.

## Yr ail Sûl o'r Grawys.

### Y Colect.

HOll-alluog Dduw, yr hwn wyt yn gweled nad
oes gennym ddim meddiant o'n nerth ein hun-
ain i'n cymmorth ein hunain: cadw di ni oddi-fewn
ac oddi-allan, sef enaid a chorph: ac amddeffyn ni
rhag pob gwrthwyneb a ddigwyddo i'r corph, a rhag
pob drwg feddwl a wnâ niwed na chynnwrf i'r en-
aid, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

## Yr Epistol.

1.Thess.4.1.



R ydym yn attolwg i chwi frodyr, ac yn deisyf yn yr Arglwydd Iesu, ar i chwi gynnyddu fwy-fwy, megis y derbyniasoch gennim, pa fodd y dylech rodio, a bodloni Duw. Canys gwyddoch pa orchymmynion a roddasom i chwi trwy'r Arglwydd Iesu. Canys hyn yw ewyllys Duw, sef eich sancteiddiad chwi, ac ymgynnal o honoch oddi wrth odineb, a gŵybod o bob vn o honoch pa fodd y meddianna ei lestr mewn sancteiddrwydd, ac anrhydedd, nid mewn gwŷn trachwant, megis y cenhedloedd, y rhai nid adwaenant Dduw: Na fydde i neb orthrymmu, na thwyllo ei frawd mewn masnach: canys yr Arglwydd sydd ddialudd ym-mhob cyfryw beth, megis y rhag-ddywedasom i chwi, ac y tystiasom. Oblegid ni 's galwodd Duw nyni i aflendid, onid i sancteiddrwydd. Am hynny y neb a escaeluso y pethau hyn, nid dyn y mae yn ei escaeluso, onid Duw yr hwn a roddes ei Yspryd glân ynom.

## Yr Efengyl.

Mat.15.21.



R Iesu aeth oddi yno, ac a giliodd i dueddau Tyrus a Sidon. Ac wele, gwraig o Canaan a ddaeth o'r cyffiniau hynny, ac a lefodd, gan ddywedyd wrtho, trugarhâ wrthif, ô Arglwydd fâb Dafydd: y mae fy merch yn ddrŵg ei hwyl gan gythraul. Eithr nid attebodd efe iddi vn gair: yna y daeth ei ddiscyblon atto, ac a attolygasant iddo, gan ddywedyd, gollwng hi ymmaith, canys y mae hi yn llefain ar ein hôl. Ac efe a attebodd, ac a ddywedodd, nim danfonwyd onid at ddefaid colledig tŷ'r Israel. Er hynny hi a ddaeth, ac a'i haddolodd ef, gan ddywedyd, ô Arglwydd cymmorth fi. Ac efe a attebodd, ac a ddywedodd, nid da cymmeryd bara'r plant, a'i

fwrw

fwrw i'r cenawon cŵn. Hithe a ddywedodd, gwir yw ô Arglwydd, canys y mae 'r cenawon cŵn yn bwytta o'r briwsion sydd yn syrthio oddiar fwrdd ei hargl wyddi. Yna 'r attebodd yr Jesu, ac a ddywedodd wrthi, ha wraig mawr yw dy ffydd, bydded i ti fel yr wyt yn ewyllysio: a'i merch a iachawyd yn yr awr honno.

## Y trydydd Sûl o'r Grawys.

### Y Colect.

NJ a attolygwn i ti Holl-alluog Dduw edrych o honot ar weddiol oglud dy vsydd weision, ac estyn ddeheu-law dy fawredd i fod yn ymwared i ni, yn erbyn ein gelynion, trwy Jesu Grist ein Harglwydd. Amen.

### Yr Epistol.

Byddwch ddylyn-wŷr Duw, fel plant anwyl, a rhodiwch mewn cariad, fel y carodd Christ ninnau, ac a'i traddododd ei hun trosom yn offrwm ac yn aberth i Dduw o arogl peraidd. Eithr godineb, a phob aflendid, neu gybydd-dra, na henwer chwaith yn eich plith, megis y gwedde i saint, na serthedd, na geiriau ffôl, na choeg-ddigrifwch, yr hyn nid ydynt weddus, eithr yn hytrach diolch-garwch. Canys yr ydych yn gŵybod hyn, am bob puttein-wr, neu aflan, neu gybydd (yr hwn sydd ddelw-addolwr) nad oes iddynt etifeddiaeth yn-nheyrnas Christ, a Duw. Na thwylled neb chwi â geiriau ofer, canys, oblegid y pethau hyn y daw digofaint Duw ar blant yr anufydd-dod. Gan hynny na fyddwch gyd-gyfrannogion â hwynt. Canys yr oeddych chwi gynt yn dywyllwch, ac yn awr goleuni ydych yn yr Arglwydd, rhodiwch fel plant y goleuni, (canys ffrwyth yr yspryd sydd yn-mhob daioni, a chyfiawnder, a gwirionedd) gan brofi yr hyn sydd gymmeradwy Epe.5.1.

 meradwy

meradwy gan yr Arglwydd. Ac na fyddwch i chwi gyfeillach â gweithredoedd anffrwyth-lawn y tywyllwch, eithr yn hytrach argyoeddwch hwynt. Canys brwnt yw adrodd y pethau a wnânt hwy yn ddirgel. Eithr pob peth wedi'r argyoedder, a eglurir gan y goleuad: canys beth bynnag sydd yn egluro, goleuad yw. O herwydd hynny y mae efe yn dywedyd, deffro di yr hwn wyt yn cysgu, a chyfod oddiwrth y meirw, a Christ a oleua i ti.

Yr Efengyl.

Luc.11.14.



R Iesu oedd yn bwrw allan gythraul, yr hwn oedd fûd. A bu wedi i'r cythraul fyned allan, i'r mûd lefaru, a rhyfeddu a wnaeth y bobl. A rhai o honynt a ddywedasant, trwy Beelzebub pennaeth y cythreuliaid y mae efe yn bwrw allan gythreuliaid. Ac eraill gan ei demptio ef a geisiasant ganddo arwydd o'r nêf. Yntef yn gwybod eu meddyliau hwynt, a ddywedodd wrthynt, pob teyrnas wedi ei rhannu yn ei herbyn ei hun a anrheithir, a thŷ rhannedig yn ei erbyn ei hun a syrthia. Ac os Satan hefyd sydd wedi ymrannu yn ei erbyn ei hun, pa fodd y saif ei deyrnas ef? gan eich bod yn dywedyd mai trwy Beelzebub yr wyf fi yn bwrw allan gythreuliaid. Ac os trwy Beelzebub yr wyf fi yn bwrw allan gythreuliaid, trwy bwy y mae eich plant chwi yn eu bwrw hwynt allan? am hynny y byddant hwy yn farn-wŷr arnoch chwi. Eithr os my fi trwy fŷs Duw ydwyf yn bwrw allan gythreuliaid, diammau ddyfod teyrnas Dduw attoch chwi. Pan fyddo y crŷf yn arfog yn cadw ei neuadd, y mae'r hyn sydd ganddo mewn heddwch. Ond pan ddêl un cryfach nag ef arno, a'i orchfygu, ef a ddwg ymmaith ei holl arfogaeth ef, yn yr hon yr oedd yn ymddiried, ac a ran ei anrhaith ef. Y neb nid yw gŷd â mi, sydd yn

fy

fy erbyn, a'r neb nid yw yn casclu gyd â mi sydd yn gwascaru. Pan êl yr yspryd aflan allan o ddyn, efa drammwya trwy loedd sychion, gan geisio esmwythdra: a phryd na's caffo, efa ddywaid, mi a ddychwelafi i'm ty o'r lle y daethym allan. A phan ddêl, y mae yn ei gael wedi ei yscubo, a'i drefnu. Yna yr aiff efe ac y cymmer atto saith yspryd eraill gwaeth nag ef ei hun, a phan elont i mewn, yno yr arhosant, a diwedd y dyn hwnnw fydd gwaeth nâ'i ddechreuad. A bu fel yr oedd efe yn dywedyd y pethau hyn, godi o ryw wraig o'r dyrfa ei llêf, a dywedyd wrtho, Gwynfyd y grôth a'th ddûg di, a'r bronnau a sugnaist. Yntef a ddywedodd, yn hytrach gwyn-fyd y rhai ydynt yn gwrandaw gair Duw, ac yn ei gadw.

## Y Pedwerydd Sûl o'r Grawys.

### Y Colect.

CAniadhâ ni a attolygwn i ti Holl-alluog Dduw, fod i ni y rhai a boenir yn rhyglyddus am ein drwg weithredoedd, trwy gonffordd dy rad ti, allu yn drugarog gael hawsfhâd, trwy ein Harglwydd Jesu Grist. Amen.

### Yr Epistol.



Dywedwch i mi y rhai a fynnwch fôd dan y ddeddf, oni chlywch y ddeddf? Canys y mae yn scrifennedig fôd i Abraham ddau fâb, un o'r wasanaeth-wraig, ac un o'r wraig rydd. Eithr hwn oedd o'r wasanaeth-wraig a aned yn ôl y cnawd, a hwn oedd o'r wraig rydd a aned o herwydd yr addewid. Yr hyn bethau a arwyddoccânt beth arall: canys y rhai hyn ynt y ddau destament: un yn ddiau o fynydd Sina, yn cenhedlu i gaethiwed, yr hon yw Agar, (Canys Agar yw Sina mynydd yn Arabia, ac y mae yn cyfatteb i Jerusalem yr hon sydd yn Gal.4.21.

 awr)

a'wr) ac y mae yn gaeth hi a'i phlant. Eithr y Jerusalem uchod sydd rydd, yr hon yw ein mam ni oll. Canys scrifennedig yw, Llawenhâ di yr ammhlantadwy, yr hon nid wyt yn planta: torr allan a llefa, yr hon nid wyt yn escor, canys i'r ddi-wriog y mae llawer mwy o blant nag i'r hon y mae iddi wr. Ninnau, frodyr, ydym yn blant yr addewid un wedd ag Isaac. Eithr megis y pryd hynny hwn a aned yn ôl y cnawd a erlidie yr hwn a aned yn ôl yr Yspryd, felly y mae yr awr hon hefyd. Ond pa beth a ddywed yr Scrythur? Bwrw allan y wasanaeth-wraig, a'i mâb, canys ni bydd mâb y wasanaeth-wraig yn etifedd gyda â mâb y wraig rydd. Felly, frodyr, nid ydym blant i'r wasanaeth-wraig ond i'r wraig rydd.

Yr Efengyl.

Ioan.6.1. 

R Jesu a aeth tros fôr Galilêa, yr hwn yw môr Tiberias. A thyrfa fawr a'i canlynodd ef, oblegid iddynt weled ei arwyddion y rhai wnaethe efe ar y cleifion. A'r Jesu a aeth i fynu i'r mynydd, ac ef a eisteddodd yno gyd â'i ddiscyblon. A'r Pâsc, gŵyl yr Iddewō oedd yn agos. Yna 'r Jesu a dderchafodd ei lygaid, ac a ganfu fod tyrfa fawr yn dyfod atto ef, ac a ddywedodd wrth Philip: o ba le y prynwn ni fara, fel y gallo y rhai hyn fwytta? (Ac ef a ddywedodd hyn i'w brofi ef, canys efe a wydde beth a wnai.) Philip a'i hattebodd ef, Gwerth dau cant ceiniog o fara nid yw ddigon iddynt hwy, fel y gallo pob un o honynt gymmeryd ychydig. Un o'i ddiscyblion a ddywedodd wrtho ef, Andreas brawd Simon Petr, Y mae yma ryw fachgennyn, yr hwn sydd ganddo bump torth haidd, a dau byscodyn: ond beth yw hynny rhwng cynnifer? A'r Jesu a ddywedodd, perwch i'r dynion eistedd i lawr (ac yr oedd glas-wellt lawer yn y fan honno) A'r gwyr a eisteddasant

steddasant i lawr ynghylch pum-mil o nifer. A'r Jesu a gymmerth y bara, ac a ddiolchodd, ac a'i rhannodd i'r discyblon, a'r discyblon i'r rhai oeddynt yn eistedd: felly hefyd o'r pyscod cymmeint ag a fynnasant. Ac wedi eu digoni hwynt, ef a ddywedodd wrth ei ddiscyblon, cesclwch y briw-fwyd sydd yngweddill, fel na choller dim. Yna hwynt a'i casclasant, ac a lanwasant ddeu-ddeg basced â'r briw-fwyd o'r pump torth haidd, a weddillasid gan y sawl a fwyttâsent. Yna y dynion pan welsant yr arwydd a wnaethe yr Jesu, a ddywedasant, yn ddiau hwn yw 'r prophwyd yr hwn oedd ar ddyfod i'r bŷd.

## Y pummed Sûl o'r Grawys.

### Y Colect.

NI a attolygwn i ti Holl-alluog Dduw, edrych o honot yn drugârog ar dy bobl: ac iddynt trwy dy fawr ddaioni a'th lywodraeth fod byth yn gadwedic enaid a chorph, trwy Jesu Grist ein Harglwydd. Amen.

### Yr Epistol.

CHrist yn dyfod yn Arch-offeiriad y daioni a fyddent rhag llaw trwy dabernacl mwy, a pherffeithiach, nid o waith dwylo, hynny yw, nid o'r adeiladaeth hymma, nid chwaith trwy waed geifr a lloi, eithr trwy ei waed ei hun yr aeth efe unwaith i mewn i'r cyssegr, ac a gafas dragywyddol ollyngdod o gaethiwed. Oblegid os ydyw gwaed teirw, a geifr, a lludw anner wedi ei danu ar y rhai halogedig yn sancteiddio i bureiddiad y cnawd, o ba faint mwy y pura gwaed Christ (yr hwn trwy 'r Yspryd tragywyddol a'i hoffrymmodd ei hun yn ddifai i Dduw) eich cydwybod chwi oddiwrth feirwon weithredoedd, i wasanaethu y Duw byw? Ac am hynny Heb.9.11.

y mae efe yn gyfryng-wr y cyfammod newydd, megis trwy fod marwolaeth yn ymwared oddiwrth y troseddau y rhai oeddynt tan y cyfammod cyntaf, y derbynie y rhai a alwyd addewid yr etifeddiaeth dragywyddol.

Yr Efengyl.

Ioan.8.46. PWy o honoch chwi a'm hargyoedda i o bechod: od wyf fi yn dywedyd y gwir, pa ham nad ydych yn credu i mi? Y mae'r hwn sydd o Dduw yn gwrando geiriau Duw, am hynny nid ydych chwi yn gwrando am nad ydych o Dduw. Yna attebodd yr Iddewon, a dywedasant wrtho ef: ond da yr ydym ni yn dywedyd mai Samaritan wyt ti, a bod gennit gythraul? Yr Iesu a attebodd, nid oes gennif fi gythraul, ond yr wyf yn anrhydeddu fy-Nhâd, ac yr ydych chwithau yn fy-nianrhydeddu i. Ac nid wyf fi yn ceisio fy-ngogoniant fy hun, y mae a'i cais ac a farn. Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, os ceidw neb fy-ngair i, ni wêl efe farwolaeth bŷth. Yna dywedodd yr Iddewon wrtho ef, yr awron y gŵyddom fôd gennit gythraul. Bu Abraham farw, a'r prophwydi, ac meddi di, os ceidw neb fy-ngair i, nid archwaetha efe farwolaeth bŷth. Ai mwy wyt ti na'n Tâd Abraham, yr hwn a fu farw? a'r prophwydi fuant feirw: pwy'r wyt ti yn dy wneuthur dy hun? Attebodd yr Iesu, os my-fi wyf yn fy-ngogoneddu fy hun, nid yw fy-ngogoniant ddim: fy-Nhâd yw'r hwn sydd yn fy-ngogoneddu i, yr hwn yr ydych chwi yn dywedyd mai eich Duw chwi yw efe. Ond nid adnabuoch chwi ef, eithr my-fi a'i hadwen ef, ac os dywedaf nad adwen ef, mi a fyddaf debyg i chwi yn gelwyddog. Ond mi a'i hadwen ef, ac yr wyf yn cadw ei air ef. Gorfoledd oedd gan eich tâd Abraham weled fy-nŷdd i, ac ef a'i gwelodd, ac a lawenychodd. Yna dywedodd yr

Iddewon

Iddewon wrtho ef, nid wyt ti ddeng-mhlwydd a deu'gain etto, ac a welaist ti Abraham? Dywedodd yr Iesu wrthynt, yn wir, yn wir, meddaf i chwi, cyn bôd Abraham yr wyf fi. Yna hwynt-hwy a godasant gerrig i'w taflu atto ef: a'r Iesu a ymguddiodd, ac a aeth allan o'r Deml.

## Y Sûl nesaf o flaen y Pâsc.

### Y Colect.

HOll-gyfoethog a thragywyddol Dduw, yr hwn o'th garedigol serch ar ddŷn a ddanfonaist ein Iachawdwr Iesu Grist i gymmeryd arnaw ein cnawd, ac i ddioddef angau ar y groes fel y gallai bob rhyw ddŷn ddilyn esampl ei ufyddtod ef: Caniadhâ o'th drugaredd bod i ni ganlyn esampl ei ddioddefaint, a bod yn gyfrannogion o'i gyfodiad, trwy yr un rhyw Iesu Grist ein Arglwydd. Amen.

### Yr Epistol.

BYdded yr un meddwl ynoch ac oedd yn Christ Iesu, yr hwn pan oedd yn ffurf Duw, ni thybiodd yn drais fod yn ogyfuwch â Duw: eithr efe a'i dyddymmodd ei hûn, gan gymmeryd arno agwedd gwâs, a'i wneuthur yn gyffelyb i ddynion, a'i gael yn ei ddull fel dŷn. Ef a ymostyngodd gan fôd yn ufydd i angeu, sef angeu y groes. O herwydd pa ham Duw a'i traderchafodd yntef, ac a roddes iddo enw, yr hwn sydd goruwch pob enw. Fel y bydde yn enw'r Iesu i bôb glin blygu yn gystal nefolion, daearolion, a thanddaearolion bethau: ac i bob tafod gyffesu mai Iesu Ghrist yw'r Arglwydd, er gogoniant Duw Tâd. Phil.2.5.

### Yr Efengyl.

AC fe a ddarfu wedi i'r Iesu orphen y geiriau hyn oll, efe a ddywedodd wrth ei ddiscyblon, Chwi a wyddoch mai wedi dau-ddydd y mae 'r Pâsc, Mat.26.1.

'r Pâsc, a Mâb y dŷn a draddodir i'w groes-hoelio.
Yna y casclwyd yr Arch-offeiriaid, a'r Scrifenny-
ddion, a henuriaid y bobl i neuadd yr Arch-offeiriad,
yr hwn a elwid Caiphas. Ac hwy a gyd-ymgyng-
horasant pa fodd y dalient yr Iesu trwy ddichell, ac
y lladdent ef. Eithr hwy a ddywedasant, nid ar yr
ŵyl, rhag bod cynnwrf ym-mhlith y bobl. Ac fel
yr oedd yr Iesu yn Bethania, yn-nhŷ Simon wa-
han-glwyfus, fe ddaeth atto wraig a chŷd â hi
flŵch o ennaint gwerth-fawr, ac a'i tywalltodd
ar ei ben, ac efe yn eistedd wrth y ford. A phan we-
lodd ei ddiscyblon, hwy a lidiasant, gan ddywedyd,
pa raid yr afrad hyn? Canys fe a allesid gwerthu
yr ennaint hwn er llawer, a'i roddi i'r tlodion. A'r
Iesu a ŵybu, ac a ddywedodd wrthynt, pa ham
yr ydych yn gwneuthur blinder i'r wraig? canys
hi a weithiodd weithred dda arnaf. O blegid y tlodi-
on a gewch bob amser gŷd â chwi, a mi ni's cewch
bob amser. Canys hi yn tywallt yr ennaint hwn
ar fy-nghorph, a wnaeth hyn i'm claddu i. Yn wir
meddaf i chwi, pa le bynnag y pregethir yr Efengyl
hon yn yr holl fŷd, hyn ymma hefyd a wnaeth hi a
fynegir, er coffa am dani hi. Yna 'r aeth vn o'r deu-
ddeg, yr hwn a elwid Iudas Iscariot at yr Arch-o-
ffeiriaid, ac a ddywedodd wrthynt, pa beth a ro-
ddwch i mi, a mi a'i traddodaf ef i chwi? ac hwy a
dalasant iddo ddêg ar hugain o arian. Ac o hynny
allan y ceisiodd efe amser cyfaddas i'w fradychu ef.
Ac ar y dŷdd cyntaf o ŵyl y bara croyw, ei ddiscy-
blon a ddaethant at yr Iesu gan ddywedyd wrtho,
pa le y mynni i ni barottoi i ti fwytta'r Pâsc? Ac
yntef a ddywedodd, ewch i'r ddinas at y cyfryw
vn, a dywedwch wrtho, y mae 'r Athro yn dy-
wedyd, fy amser sydd agos, gŷd â thi y cynhaliaf
y Pâsc, mi a'm discyblon. A'r discyblon a wnae-
thant

thant y modd y gorchymmynnase yr Iesu iddynt, ac a barottoesant y Pâsc. Ac wedi ei myned hi yn hwyr, ef a eisteddodd gŷd â'r deuddeg. Ac fel yr oeddynt yn bwytta, ef a ddywedodd, yn wir yr wyf yn dywedyd i chwi, y bradycha un o honoch fi. Yna 'r aethant yn drist dros ben, ac a ddechreu-asant bob un ddywedyd wrtho: ai my-fi, Arglwydd, yw hwnnw? Ac ef a attebodd, ac a ddywedodd, yr hwn sydd yn trochi ei law gŷd â mi yn y ddyscl, hwnnw a'm bradycha i. Mâb y dŷn yn ddiau sydd yn myned fel y mae yn scrifennedig am dano, eithr gwae'r dŷn hwnnw trwy 'r hwn y bradychir Mâb y dŷn: da fuase i'r dŷn hwnnw pe na's ganesid. Ac Iudas, yr hwn a'i bradychodd ef, a attebodd, ac a ddywedodd, ai my-fi yw efe, Athro? Yntef a ddywedodd wrtho, ti a ddywedaist. Ac fel yr oeddynt yn bwytta, yr Iesu wedi iddo gymmeryd bara a bendigo, a'i torrodd, ac a'i rhoddes i'r discyblon, ac a ddywedodd, cymmerwch, bwyttewch, hwn yw fy-nghorph. Ac wedi iddo gymmeryd y cwppan a diolch, ef a'i rhoddes iddynt, gan ddywedyd, yfwch bawb o hwn. Canys hwn yw fy-ngwaed o'r Testament newydd, yr hwn a dywelltir tros lawer er maddeuant pechodau. Ac yr ydwyf yn dywedyd i chwi, nad yfaf o hyn allan o ffrwyth y win-wydden, hyd y dŷdd hwnnw, pan yfwyf ef yn newydd gŷd â chwi yn-nheyrnas fy-Nhâd. Ac wedi iddynt ganu mawl, hwy a aethant allan i fynydd yr Olewydd. Yna y dywedodd yr Iesu wrthynt, chwy-chwi oll a rwystrir heno o'm plegid i: canys scrifennedig yw, Tarawaf y bugail, a defaid y praidd a wascerir. Eithr wedi fy adgyfodi, mi a âf o'ch blaen chwi i Galilêa. A Phetr a attebodd, ac a ddywedodd wrtho, pe rhwystrid pawb o'th blegid ti, etto ni'm rhwystrir i byth. Yr Iesu

a ddywedodd wrtho, yn wir yr wyf yn dywedyd i ti, mai 'r nos hon cyn canu 'r ceiliog i'm gwedi dair-gwaith. Petr a ddywedodd wrtho, pe gorfydde i mi farw gŷd â thi, ni'th wadaf ddim: a'r un môdd hefyd y dywedodd yr holl ddiscyblon. Yna y daeth yr Iesu gŷd ag hwynt i fan a elwid Gethsemane, ac a ddywedodd wrth ei ddiscyblon, eisteddwch ymma tra 'r elwyf a gweddio accw. Ac efe a gymmerth atto Petr, a dau fâb Zebedeus, ac a ddechreuodd dristau, ac ymofidio. Yna efe a ddywedodd wrthynt, athrist yw fy enaid hyd angeu, arhoswch ymma, a gwiliwch gŷd â mi. Ac efe a aeth ychydig pellach, ac a syrthiodd ar ei wyneb, ac a weddiodd, gan ddywedyd, fy Nhâd, or gellir aed y cwppan hwn oddiwrthyf, er hynny, nid fel yr ewyllysiwyf fi, ond fel yr ewyllysiech di. Ac ef a ddaeth at ei ddiscyblon, ac a'u cafas hwy yn cyscu, ac efe a ddywedodd wrth Petr: felly oni allech chwi wilied un awr gŷd â mi? Gwiliwch, a gweddiwch rhag eich myned mewn temtasiwn, yr yspryd yn ddiau sydd barod, eithr y cnawd sydd wann. Efe a aeth trachefn, ac a weddiodd, gan ddywedyd, fy-Nhâd oni's gall y cwppan hwn fyned oddiwrthif, heb orfod i mi ei yfed, gwneler dy ewyllys. Ac ef a ddaeth, ac a'u cafas hwy yn cyscu trachefn, canys eu llygaid hwy oeddynt drymion. Ac ef a'u gadawodd hwynt, ac a aeth ymaith trachefn, ac a weddiodd y drydedd waith, gan ddywedyd yr un geiriau. Yna y daeth efe at ei ddiscyblon, ac a ddywedodd wrthynt, cyscwch bellach a gorphywyswch: wele, y mae 'r awr wedi dyfod yn agos, a Mâb y dŷn a draddodir yn-nwylo pechaduriaid. Codwch, awn, wele, y mae ger llaw yr hwn a'm bradycha. Ac efe etto yn dywedyd hyn, wele, Judas un o'r deuddeg a ddaeth, a thyrfa fawr gŷd ag ef, â chleddyfau, a ffynn oddiwrth yr

Arch-offeiriaid,

Arch-offeiriaid, a henuriaid y bobl. A'r hwn a'i
bradychodd ef a roese arwydd iddynt, gan ddywedyd,
pa vn bynnag a gusanwyf, hwnnw yw, deliwch
ef. Ac yn ebrwydd y daeth at yr Iesu, ac a ddywedodd,
Henpych well, Athro, ac a'i cusanodd ef. A'r Iesu
a ddywedodd wrtho, y cyfaill, i ba beth y daethost?
Yna y daethant, ac y rhoesant ddwylo ar yr Iesu, ac
a'i daliasant ef. Ac wele, vn o'r rhai oedd gyd â'r Ie-
su a estynnodd ei law, ac a dynnodd ei gleddyf, ac a
darawodd wâs yr Arch-offeiriad, ac a dorrodd ei
glûst ef. Yna y dywedodd yr Iesu wrtho, dôd dy gle-
ddyf drachefn yn ei le, canys pawb o'r a gymmerant
gleddyf, a ddyfethir â chleddyf. A ydwyt ti yn tybi-
eid na's gallaf yr awr hon ddeisyf ar fy-Nhâd fel y
rhodde efe fwy nâ deu-ddeg lleng o angelion i mi?
Pa fodd yntef y cyflawnir yr scrythyrau, y rhai a
ddywedant mai felly y gorfydd bôd? Yn yr awr
honno y dywedodd yr Iesu wrth y dyrfa, chwi a
ddaethoch allan megis at leidr â chleddyfau, a ffynn
im dala i: yr oeddwn beunydd yn eistedd gyd â
chwi, ac yn dyscu yn y Deml, ac ni'm daliasoch. A
hyn oll a wnaethpwyd er cyflawni scrythyrau y
prophwydi. Yna'r holl ddiscyblon a'i gadawsant ef,
ac a ffoasant. Hwythau a ddaliasant yr Iesu, ac a
aethant ag ef at Caiphas yr Arch-offeiriad lle 'r o-
edd yr Scrifennyddion, a'r henuriaid wedi ymga-
sclu ynghŷd. A Phetr a'i canlynodd ef o hir-bell hyd
yn neuadd yr Arch-offeiriad, ac a aeth i mewn, ac
a eisteddodd gyd â'r gweision i weled y diwedd. A'r
arch-offeiriaid, a'r henuriaid, a'r holl gynghor a gei-
siasant gau-dystiolaeth yn erbyn yr Iesu, i'w roddi
ef i farwolaeth: ac ni's cawsant: ie er dyfod yno
gau-dystion lawer, ni chawsant: eithr o'r diwedd
fe a ddaeth dau gau-dŷst, ac a ddywedasant, hwn a
ddywedodd, mi a allaf ddistrywio Teml Dduw, a'i
hadeiladu

hadeiladu mewn tri diwrnod. A chyfododd yr Arch-offeiriad, ac a ddywedodd wrtho, a attebi di ddim? Pa beth y mae yrhai hyn yn ei dystiolaethu yn dy erbyn di? A'r Iesu a dawodd. Yna 'r attebodd yr Arch-offeiriad, ac a ddywedodd wrtho, yr ydwyf yn dy dynghedu di trwy'r Duw byw, ddywedyd o honot i ni os ty-di yw Christ Mâb Duw. Yr Iesu a ddywedodd wrtho, ti a ddywedaist: eithr meddaf i chwi, ar ôl hyn y gwelwch Fâb y dŷn yn eistedd ar ddeheu-law gallu Duw, ac yn dyfod yn wybrennau 'r nêf. Yna y rhwygodd yr Arch-offeiriad ei ddillad, gan ddywedyd, ef a gablodd: pa raid i ni mwyach wrth dystion, wele clywsoch yr awrhon ei gabledd ef. Beth dybygwch chwi? hwythau gan atteb a ddywedasant, y mae efe yn euog i farwolaeth. Yna y poerasant yn ei ŵyneb, ac a'i bonclustiasant, eraill a'i cernodiasant ef, gan ddywedyd, prophwyda i ni, ô Christ, pwy yw 'r hwn a'th darawodd? A Phetr oedd yn eistedd allan yn y neuadd, a daeth rhyw forwyn atto, ac a ddywedodd, yr oeddit tithe gŷd a'r Iesu o Galilea. Ac ef a wadodd ger eu bron hwy oll, ac a ddywedodd, ni's gwn beth yr wyt yn ei ddywedyd. A phan aeth efe allan i'r porth gwelodd morwyn arall ef, a hi a ddywedodd wrth y rhai oeddynt yno, yr oedd hwn hefyd gŷd â'r Iesu o Nazareth. A thrachefn ef a wadodd, gan dyngu, nid adwen i y dŷn. Ac ychydig wedi hynny y daeth atto y rhai oeddynt yn sefyll gar llaw, ac a ddywedasant wrth Petr, yn wir yr wyt ti yn un o honynt, canys y mae dy leferydd yn dy gyhuddo. Yna y dechreuodd efe ymregu a thyngu, gan ddywedyd, nid adwen i y dŷn, ac yn y man y canodd y ceiliog. A Phetr a gofiodd eiriau 'r Iesu yr hwn a ddywedase wrtho, cyn canu 'r ceiliog, ti a'm gwedi dair-gwaith. Ac ef aeth
Mat.27. allan, ac a ŵylodd yn chwerw-dôst. A phan ddaeth y

boreu cyd-ymgynghorodd yr holl arch-offeiriaid, a henuriaid y bobl yn erbyn yr Iesu fel y rhoddent ef i farwolaeth. Ac hwy a aethant ymmaith ag ef yn rhwym, ac a'i rhoesant at Pontius Pilatus y rhaglaw. Yna pan weles Iudas, yr hwn a'i bradychodd ef, fyned barn yn ei erbyn ef, fe a fu edifar ganddo, ac a ddûg trachefn y dêg ar hugain arian i'r arch-offeiriaid, a'r henuriaid, gan ddywedyd, pechais gan fradychu gwaed gwirion: hwythau a ddywedasant, pa beth yw hynny i ni? edrych di. Ac wedi iddo daflu 'r arian yn y Deml, ef a ymadawodd, ac a aeth, ac a ymgrogodd. A'r Arch-offeiriaid a gymmerasant yr arian, ac a ddywedasant, nid cyfreithlon eu bwrw hwynt yn y trysor-dŷ, canys gwerth gwaed ydyw. Ac wedi iddynt ymgynghori, hwy a brynasant ag hwynt faes y crochenydd yn gladdfa dieithreid. Am hynny y galwyd y maes hwnnw, maes y gwaed, hyd heddyw. (Yna y cyflawnwyd yr hyn a ddywetpwyd trwy Ieremias y prophwyd, gan ddywedyd, ac hwy a gymmerasant y dêg ar hugain o arian, gwerth y gwerthedig yr hwn a brynnasant gan feibion Israel: ac a'u rhoesant am faes y crochenydd, megis y gosodes yr Arglwydd i mi.) A'r Iesu a safodd gar bron y rhaglaw, a'r rhaglaw a ofynnodd iddo, gan ddywedyd, a'i ti yw brenhin yr Iddewon? a'r Iesu a ddywedodd wrtho, Yr wyt ti yn dywedyd. A phan gyhuddwyd ef gan yr arch-offeiriaid, a'r henuriaid, nid attebodd ef ddim. Yna y dywedodd Pilatus wrtho, oni chlywi faint o bethau y maent hwy yn eu tystiolaethu yn dy erbyn? Ac nid attebodd efe iddo i vn gair, fel y rhyfeddodd y rhaglaw yn fawr. Ac ar yr ŵyl honno yr arfere y rhaglaw ollwng yn rhydd i'r bobl vn carcharor, yr hwn a fynnent. Yna 'r oedd ganddynt garcharor hynod, a elwid Barabbas.

Wedi

wedi yddynt gan hynny ymgasclu ynghyd, Pilatus
a ddywedodd wrthynt, pa vn a fynnwch i mi ei oll-
wng yn rhydd i chwi? Barabbas, ai'r Jesu yr hwn a
elwir Christ? Canys ef a wyddie mai o genfigen y
traddodasent ef. Ac efe yn eistedd ar yr orseddfaingc,
ei wraig a ddanfonodd atto gan ddywedyd, na fydd-
ed i ti ddim a wnelech â'r cyfiawn hwnnw, canys
goddefais lawer heddyw mewn breuddwydion o'i
achos ef. A'r arch-offeiriaid, a'r henuriaid a berswa-
diasant y bobl i ofyn Barabbas, a difetha'r Jesu.
A'r rhaglaw a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt,
pa vn o'r ddau a fynnwch i mi ei ollwng yn rhydd i
chwi? Hwythau a ddywedasant, Barabbas. Pila-
tus a ddywedodd wrthynt, pa beth gã hynny a wnâf
i Jesu'r hwn a elwir Christ? hwy oll a ddywedasant
wrtho, croes-hoelier ef. Yna y dywedodd y rhaglaw,
ond pa ddrwg a wnaeth efe? hwythau a lefasant yn
fwy, gan ddywedyd, croes-hoelier ef. Pan welodd
Pilatus na thyccie dim, ond bôd y cynnwrf yn codi
yn fwy, ef a gymerth ddwfr, ac a olchodd ei ddwylo
gar bron y bobl, gan ddywedyd, dieuog ydwyf fi oddi-
wrth waed y cyfiawn hwn, edrychwch chwi. A'r
holl bobl a attebodd, ac a ddywedodd, bydded ei wa-
ed ef arnom ni, ac ar ein plant. Yna y gollyngodd ef
Barabbas yn rhydd iddynt, ac ef a fflangellodd yr
Jesu, ac a'i traddodes i'w groes-hoelio. Yna milwyr
y rhaglaw a gymmerasant yr Jesu i'r dadleu-dŷ, ac
a gynhullasant atto yr holl fyddin. Ac hwy a'i dios-
casant, ac a roesant am dano fantell o scarlad, ac a
blethasant goron o ddrain, ac a'i dodasant ar ei ben, a
chorsen yn ei law-ddeheu, ac a blygasant eu gliniau
gar ei fron ef, ac a'i gwatwarasant, gan ddywedyd,
henphych well, Brenhin yr Iddewon. Ac hwy a bo-
erasant arno, ac a gymmerasant gorsen, ac a'i tarawa-
sant ar ei ben. Ac wedi iddynt ei watwar hwy a'i

diosgasant

diosgasant ef o'r fantell, ac a'i gwiscasant ef â'i ddi-
llad ei hun, ac a aethant ag ef i'w groes-hoelio. Ac fel
yr oeddynt yn myned allan hwy a gawsant ddŷn o
Cyren, a elwid Simon, hwn a gymmhellasant hwy
i ddwyn ei groes ef. A phan ddaethant i le a elwid
Golgotha, yr hwn yw y Benglogfa, hwy a roesant
iddo i'w yfed finegr yn gymmyscedig â bustl: ac we-
di iddo ei brofi, ni fynnodd efe yfed. Ac wedi iddynt ei
groes-hoelio ef, hwy a rannasant ei ddillad, ac a fwri-
asant goel-brennau, er cyflawni y peth a ddywed-
pwyd trwy'r prophwyd, Hwy a rannasant fy-nillad
yn eu plith, ac ar fy-ngwisc y bwriasant goel-bren-
nau. Ac hwy a eisteddasant, ac a'i gwiliasant ef yno.
Ac hwy a osodasant uwch ei ben ef ei achos yn scri-
fennedig, HWN YW IESU BRENIN YR
IDDEWON. Yna y croes-hoeliwyd dau leidr gyd
ag ef, un ar y llaw ddehau, ac arall ar yr asswy. A'r
rhai oeddynt yn myned heibio a'i cablasant ef gan
ysgwyd eu pennau, a dywedyd, Ti'r hwn a ddistry-
wi'r Deml, ac a'i hadeiledi mewn tri-diau, cadw dy
hun, os ti yw Mâb Duw, descyn oddiar y groes. A'r
un modd yr arch-offeiriaid a'i gwatwarasant ef gyd â
'r scrifennyddion, a'r henuriaid, ac a ddywedasant,
Ef a achubodd eraill, ni's gall ef ei achub ei hun: os
Brenhin Israel yw efe, descynned yr awr hon oddiar
y groes, ac ni a gredwn iddo. Ef a ymddiriedodd yn-
Nuw, rhyddaed efe ef yr awr hon os myn efe ef: ca-
nys ef a ddywedodd, Mâb Duw ydwyf. Yr un peth
hefyd a edliwiodd y lladron, y rhai a grogasid gyd
ag ef, iddo ef. Ac o'r chweched awr y bu tywyllwch
ar yr holl ddaear, hyd y nawfed awr. Ac ynghylch
y nawfed awr y llefodd yr Iesu â llêf uchel, gan
ddywedyd, Eli, Eli, lamma sabachthani? hynny yw,
fy-Nuw, fy-Nuw, pa ham i'm gadewaist? A rhai
o'r sawl oeddynt yn sefyll yno, pan glywsant, a

ddywedasant, y mae hwn yn galw ar Elias. Ac yn y fan vn o honynt a redodd, ac a gymmerth yspwrn, ac a'i llanwodd o finegr, ac a'i dodes ar gorsen, ac a'i rhoes iddo i'w yfed. A'r llaill a ddywedasant, gâd ti iddo: edrychwn a ddaw Elias i'w waredu. Yna y llefodd yr Iesu trachefn â llêf vchel, ac a ymadawodd â'r yspryd. Ac wele, llen y deml a rwygwyd yn ddau, o'r cwrr vchaf hyd yr isaf, a'r ddaear a grynodd, a'r main a holltwyd. A'r beddau a ymagorasant, a llawer o gyrph y sainct, y rhai a hunasent, a gyfodasant, ac a ddaethant allan o'r beddau ar ol ei gyfodiad ef, ac a aethant i mewn i'r ddinas sanctaidd, ac a ymddangosasant i lawer. Pan welodd y Canwriad, a'r rhai oeddynt gyd ag ef yn gwilied yr Iesu, y ddaear-gryn, a'r pethau a wnaethid, hwy a ofnasant yn fawr, gan ddywedyd, yn wir Mâb Duw ydoedd hwn. Ac yr oedd yno lawer o wragedd yn edrych o hir-bell, y rhai a ganlynasent yr Iesu o'r Galilæa, gan weini iddo ef. Ymmhlith y rhai yr oedd Mair Magdalen, a Mair mam Iaco, ac Ioses, a mam meibion Zebedeus.

## DyddLlûn nesaf o flaen y Pâsc.

### Yr Epistol.

Esay 63.1. 
Pwy yw hwn yn dyfod o Edom, yn gôch ei ddillad o Bozra? hwn sydd hardd yn ei wisc, yn ymdaith yn amlder ei rym? myfi yr hwn a lefaraf mewn cyfiawnder, ac ydwyf gadarn i iachâu. Paham yr ydwyt yn gôch dy ddillad, a'th wiscoedd fel yr hwn a sathre mewn gwin-wryf? Sethrais y gwinwryf fy hunan, ac o'r bobl nid oedd vn gyd â mi, am hynny y sathraf hwynt yn fy nig, ac y mathraf hwynt yn fy llidiawgrwydd, a'u gwaed hwynt a daenillir ar fy nillad, a'm holl wiscoedd, alychwinaf.

Canys dŷdd dial wrth fodd fy-nghalon a blwyddyn fy-ngwaredigion a ddaeth. Canys edrychais hefyd, ac nid oedd gynnhorthwyudd, rhyfeddais hefyd am nad oedd gynhaliwr, yna fymraich a'm hachubodd, a'm llidiowgrwydd a'm cynhaliodd. Felly y sathraf bobl yn fy-nîg, ac y meddwaf hwynt yn fy llidiawgrwydd: a'u goruwchafiaeth a ddescynnaf i'r llawr. Coffâf drugaredd yr Arglwydd, a moliant Duw, megis am yr hyn oll a dalodd Duw i ni, ac amlder llesâd tŷ Israel, yr hyn a dalodd efe iddynt yn ôl ei dosturiaethau, ac yn ôl amlder ei drugareddau. Ac efe a ddywedodd, diau fymhobl i ydynt hwy, meibion ni ddywedant gelwydd, ac efe a aeth yn iachawdur iddynt. Yn eu holl gystudd hwynt nid oedd cystudd, ac Angel ei gydrycholdeb a'u hachubodd hwynt, er mwyn ei gariad, ac er mwyn ei drugaredd y gwaredodd efe hwynt: efe a'u cludodd hwynt, ac a'u harweiniodd bob amser. A hwythau oeddynt wrth-ryfel-gar, ac a ofidiasant ei Yspryd sanctaidd ef, fel y trôdd efe yn elyn iddynt, ac yr ymladdodd efe yn eu herbyn hwynt. Yna y cofiodd Israel ddyddiau Moses gynt, a'i bobl, gan ddywedyd, mae'r hwn a'u dygodd hwynt i fynu o'r môr gyd â bugeiliaid ei braidd? mae'r hwn a osododd ei Yspryd sanctaidd o'i fewn ef? Yr hwn a'u tywysodd hwynt â deheu-law Moses, ac â'i ogoneddus fraich, gan hollti y dyfroedd o'u blaen hwynt, i wneuthur iddo ei hun enw tragywyddol, gan eu harwain hwynt trwy y dyfnderau, fel march yn yr ynialwch heb dramgwyddo o honynt. Fel y descyn anifail i'r dyffryn y gwnaiff Yspryd yr Arglwydd iddo orphwys: felly y tywysaist dy bobl, i wneuthur i't enw gogoneddus. Edrych o'r nefoedd, a gwêl, sef o annedd dy sancteiddrwydd, a'th ogoniant: mae dy zêl, a'th gadernid, lluosogrwydd dy dosturiaethau, a'th drugareddau? hwynt a

ymattaliasant oddiwrthif? Canys ti yw ein tâd ni,
er nad edwyn Abraham ni, ac na'n cydnebydd Is-
rael, ti Arglwydd fyddi dâd i ni, a'n gwaredudd: dy
enw sydd erioed. Pa ham Arglwydd y gwnaethost
i ni gyfeiliorni o'th ffyrdd? ac y caledaist ein calon-
nau oddiwrth dy ofn? dychwel er mwyn dy weisi-
on, sef llwythau dy etifeddiaeth. Tros ychydig en-
nyd y meddiannodd dy bobl sanctaidd dy gyssegr,
ein gwrthwyneb-wŷr a fathrasant dy gyssegr di.
Ny-ni oeddem eiddot ti erioed, pryd nad oeddit ti
yn arglwyddiaethu arnynt hwy, ac na elwid dy
enw arnynt.

## Yr Efengyl.

Marc.14.1. Edi deu-ddydd yr oedd y Pâsc, a
gŵyl y bara croyw: a'r arch-offeiri-
aid, a'r scrifennyddion a geisiasant
pa ffordd y dalient ef trwy dwyll, ac
y rhoddent ef i farwolaeth. Eithr
dywedasant, nid ar yr ŵyl, rhag bôd
cynnwrf ym-mhlith y bobl. A phan oedd efe yn
Bethania yn-nhŷ Simon y gwahan-glwyfus, ac
efe yn eistedd i fwyta, daeth gwraig a chanddi flŵch
o ennaint o spicnard gwerth-fawr, a hi a dórrodd y
blŵch, ac a'i tywalltodd ar ei ben ef. Ac yr oedd rhai
yn anfoddlon ynddynt eu hunain, ac yn dywedyd, i
ba beth y gwnaed y golled hon ar yr ennaint? O ble-
gid fe a allesid gwerthu hwn uwch law trychan cei-
niog, a'i roddi i'r tlodion, a hwy a ffrommasant wr-
thi hi. A'r Iesu a ddywedodd, gedwch iddi, pa ham
yr ydych yn peri blinder iddi hi? hi a weithiodd wei-
thred dda arnaf fi: canys bob amser y cewch y tlo-
dion gŷd â chwi, a phan fynnoch y gellwch wneu-
thur da iddynt: ond my-fi ni chewch bob amser.
Hon a wnaeth hyn a allodd, hi a enneiniodd fy-ng-
horph

horph ym-mlaenllaw erbyn y claddedigaeth. Yn wir
meddaf i chwi, pa le bynnag y pregethir yr Efengyl
hon yn yr holl fŷd, yr hyn a wnaeth hon hefyd a adro-
ddir er coffa am dani. A Judas Iscariot vn o'r deu-
ddeg a aeth ymmaith at yr arch-offeiriaid i'w frady-
chu ef iddynt. A phan glywsant hyn, llawen oedd
ganddynt, ac hwy a addawsant roddi arian iddo: yn-
tef a geisiodd pa fodd y bradyche ef mewn amser cym-
mwys. A'r dŷdd cyntaf o ŵyl y bara croyw, pan la-
ddent y Pâsc, dywedodd ei ddiscyblon wrtho: i ba le yr
wyt yn ewyllysio i ni fyned i barottoi i ti fwyta'r
Pâsc? Ac ef a anfonodd ddau o'i ddiscyblon, ac a ddy-
wedodd wrthynt, ewch i'r ddinas, a chyferfydd dŷn a
chwi yn dwyn steneid o ddwfr, dylynwch ef: a pha le
bynnag yr êl i mewn, dywedwch wrth ŵr y tŷ, fôd yr
Athro yn dywedyd, Pa le y mae y lletŷsa, lle y ga-
llwyf gŷd â'm discyblon fwytta'r Pâsc? Ac ef a
ddengys i chwi oruwchstafell fawr wedi ei thanu, ac
yn barod, yno parotowch i ni. A'i ddiscyblon a aeth-
ant ymmaith ac a ddaethant i'r ddinas, ac a gaw-
sant megis y dywedase ef ŵrthynt, ac a barottoasant
y Pâsc. A phan aeth hi yn hwyr ef a ddaeth gŷd â'r
deu-ddeg. Ac fel yr oeddynt yn eistedd wrth y ford, ac
yn bwytta, dywedodd yr Iesu, yn wir meddaf i
chwi, vn o honoch a'm bradycha i, yr hwn sydd yn
bwytta gŷd â mi. Hwythau a ddechreuasant dri-
stau, a dywedyd wrtho bob yn vn: ai my-fi? ac arall,
ai my-fi? Ac ef a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt,
vn o'r deu-ddeg, yr hwn sydd yn trochi gyd â mi yn
y ddyscl yw efe. Mâb y dŷn yn wir sydd yn myned fel
y mae yn scrifennedig am dano, ond gwae'r dŷn
hwnnw trwy'r hwn y bradychir Mâb y dŷn, da
fuase i'r dŷn hwnnw pe na's ganesid. Ac fel yr oe-
ddynt yn bwytta, yr Iesu wedi iddo gymmeryd ba-
ra, a bendigo, a'i torres, ac a'i rhoddes iddynt, ac a

ddywedodd, cymmerwch, bwyttewch, hwn yw fy-nghorph. Ac wedi iddo gymmeryd y cwppan, a rhoi diolch, ef a'i rhoddes iddynt, ac hwynt oll a yfasant o honaw. Ac ef a ddywedodd wrthynt, hwn yw fy-ngwaed o'r Testament newydd, yr hwn a dywelltir tros lawer. Yn wir yr wyf yn dywedyd wrthych, nad yfaf mwyach o ffrwyth y win-wydden, hyd y dydd hwnnw pan yfwyf ef yn newydd yn-Nheyrnas Dduw. Ac wedi iddynt ganu mawl hwy a aethant allan i fynydd yr Olewydd. A dywedodd yr Iesu wrthynt, chwy-chwi oll a rwystrir o'm hachos i y nôs hon. Canys scrifennedig yw, Tarawaf y bugail, a'r defaid a wascerir. Eithr wedi i mi adgyfodi mi a âf o'ch blaen chwi i Galilæa. A Phetr a ddywedodd wrtho, pe rhwystrid pawb, etto ni rwystrir fi. A'r Iesu a ddywedodd wrtho, yn wir yr ydwyf yn dywedyd i ti: heddyw, o fewn y nôs hon, cyn canu o'r ceiliog ddwy-waith, y gwedi fi deir-gwaith. Ac ef a ddywedodd yn gadarnach o lawer, pe gorfydde i mi farw gŷd â thi ni'th wadaf. Yr un modd hefyd y dywedasant oll. Ac hwy a ddaethant i le yr hwn y mae ei enw Gethsemane, ac ef a ddywedodd wrth ei ddiscyblon, eisteddwch ymma tra fyddwyf yn gweddio. Ac ef a gymmerth gŷd ag ef Betr, ac Iaco, ac Ioan, ac a ddechreuodd frawychu ac ymofidio. Ac ef a ddywedodd wrthynt, y mae fy enaid yn athrist hyd angeu, arhoswch ymma, a gwiliwch. Ac ef a aeth ychydig pellach, ac a syrthiodd ar y ddaear, ac a weddiodd, o bai bossibl ar fyned yr awr honno oddiwrtho. Ac ef a ddywedodd, Abba, Dâd, pob peth a elli di, tro ymmaith y cwppan hwn oddiwrthif, er hynny nid fel yr ewyllysiwyf fi, ond fel yr ewyllysiech di. Ac ef a ddaeth, ac a'u cafodd

hwynt

hwynt yn cyscu, ac a ddywedodd wrth Petr: Simon, ai cyscu'r wyt? oni allit wilio vn awr? Gwiliwch, a gweddiwch, rhag eich myned mewn temtasiwn: yr Yspryd yn ddiau sydd barod, eithr y cnawd sydd wann. Ac wedi iddo fyned ymmaith drachefn, ef a weddiodd, gan ddywedyd yr vn ymadrodd. Ac wedi iddo ddychwelyd, ef a'u cafodd hwynt yn cyscu drachefn, (canys yr oedd eu llygaid hwynt yn drymion) ac ni wyddent beth a attebent iddo. Ac ef a ddaeth y drydedd waith, ac a ddywedodd wrthynt, cyscwch weithian, a gorphywyswch: digon yw: daeth yr awr: wele, yr ydys yn bradychu Mâb y dŷn i ddwylo pechaduriaid. Cyfodwch, awn: wele, y mae'r hwn sydd yn fy mradychu yn agos. Ac yn y man, ac efe etto yn llefaru, daeth Judas, yr hwn oedd vn o'r deu-ddeg, a chŷd ag ef dyrfa fawr, â chleddyfau, a ffynn oddiwrth yr Arch-offeiriaid, a'r scrifennyddion, a'r henuriaid. A'r hwn a'i bradychodd ef a roddase arwydd iddynt, gan ddywedyd, pwy bynnag a gusanwyf, hwnnw yw, deliwch ef, a dygwch ymmaith yn siccr. A phan ddaeth, yn ebrwydd ef a aeth atto, ac a ddywedodd, Rabbi, Rabbi, ac a'i cusanodd ef. Hwythau a roesant eu dwylo arno, ac a'i daliasant. A rhyw vn o'r rhai oeddynt yn sefyll gar llaw, a dynnodd ei gleddyf, ac a darawodd wâs yr Arch-offeiriad, ac a dorrodd ymmaith ei glust ef. A'r Jesu a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, chwi a ddaethoch allan fel at leidr, â chleddyfau, ac â ffynn i'm dala i. Beunydd yr oeddwn gŷd â chwi yn athrawiaethu yn y Deml, ac ni'm daliasoch, ond er cyflawni'r scrythyrau y mae hyn. Yna hwynt-hwy oll a'i gadawsant ef, ac a ffoesant. A rhyw wr ieuangc oedd yn ei ddylyn ef,

wedi ymwisco â lliain main ar ei gorph noeth, a'r gwŷr ieuaingc a'i daliasant ef. Yr hwn a adawodd y lliain, ac a ddiangodd yn noeth o ddiwrthynt. Ac hwy a ddugasant yr Jesu at yr Arch-offeiriad: a'r holl arch-offeiriaid, a'r henuriaid, a'r scrifennyddion a ymgasclasant gŷd ag ef. Petr hefyd a'i dylynodd ef o hir-bell, oni ddaeth ef i mewn i neuadd yr Arch-offeiriad, ac yr oedd yn eistedd gŷd â'r gwasanaethwŷr, ac yn ymdwymno wrth y tân. A'r arch-offeiriaid, a'r holl gyngor a geisiasant dystiolaeth yn erbyn yr Jesu, i'w roi ef i farwolaeth, ac ni chawsant. Canys llawer a ddugasant gau-dystiolaeth yn ei erbyn ef, eithr nid oedd eu tystiolaethau hwynt yn gysson. Rhai hefyd a gyfodasant, ac a ddugasant gau-dystiolaeth yn ei erbyn ef, gan ddywedyd: Ni a'i clywsom ef yn dywedyd, mi a ddinistriaf y Deml hon o waith dwylo, ac mewn tri-diau mi a adeiladaf arall heb fôd o waith llaw. Ac etto nid oedd eu tystiolaeth hwynt gysson. Yna y cyfododd yr Arch-offeiriad i'r canol, ac a ofynnodd i'r Jesu, gan ddywedyd, Ond attebi di ddim? beth y mae y rhai hyn yn ei dystiolaethu yn dy erbyn? Yntef a dawodd, ac nid attebodd ddim. Trachefn yr Arch-offeiriad a ofynnodd iddo, ac a ddywedodd wrtho: ai ty-di yw Christ Mâb y Bendigedig. A'r Jesu a ddywedodd, my-fi yw, a chwi a gewch weled Mâb y dŷn yn eistedd ar ddeheu-law gallu Duw, ac yn dyfod yng-hymmylau'r nêf. Yna'r Arcch-offeiriad gan rwygo ei ddillad a ddywedodd: pa raid i ni mwyach wrth dystion? Chwi a glywsoch ei gabledd ef; beth dybygwch chwi? hwythau oll a'i condemnasant ef i fôd yn euog o farwolaeth. Yna dechreuodd rhai boeri arno, a chuddio ei ŵyneb, a'i fonclustio a dywedyd wrtho, Prophwyda. A'r swyddogion a'i cernodiasant. Ac fel yr oedd Petr yn y neuadd i wared, daeth un o forwynion

nion yr Arch-offeiriad: a phan gansu hi Petr yn ym-dwymno, hi a edrychodd arno, ac a ddywedodd, Tithe hefyd oeddit gŷd â'r Iesu o Nazareth. Ac ef a wadodd, gan ddywedyd, nid adwen i ef, ac ni wn beth yr wyt ti yn ei ddywedyd. Ac ef a aeth allan i'r porth, a'r ceiliog a ganodd. A phan welodd y forwyn ef drachefn, hi a ddechreuodd ddywedyd wrth y rhai oeddynt yn sefyll yno, y mae hwn o honynt. Ac ef a wadodd drachefn. Ac ychydig wedi, y rhai oeddynt yn sefyll gar llaw a ddywedasant wrth Petr drachefn, yn wir yr wyt o honynt, canys Galileâd wyt, a'th leferydd sydd debyg. Yntef a ddechreuodd regu, a thyngu, nid adwen i y dŷn hwn, yr hwn yr ydych yn ei ddywedyd. Yna y canodd y ceiliog eilchwyl: a Phetr a gofiodd y gair a ddywedase yr Iesu wrtho, cyn canu o'r ceiliog ddwy-waith, ti a'm gwedi deirgwaith. A chan ruthro allan ef a ŵylodd.

## Dydd mawrth nesaf o flaen y Pâsc.

### Yr Epistol.



R Arglwydd Dduw a agorodd fy-gnhlust, a minne ni wrthwynebais, ac ni chiliais yn fy ôl. Fy-nghorph a roddais i'r cur-wŷr, a'm cernau i'r cernod-wŷr, ni chuddiais fy ŵyneb addiwrth wradwydd, a phoeredd. O herwydd yr Arglwydd Dduw a'm cymmorth, am hynny ni'm cywilyddiwyd, am hynny gosodais fy ŵyneb fel callestr am y gŵyddwn na'm cywilyddid. Agos yw'r hwn a'm cyfiawnhâ, pwy a ymryson â mi? safwn ynghŷd, pwy a ymgyfreithia â mi? nessaed attaf. Wele'r Arglwydd Dduw a'm cynnhorthwya, a phwy yw'r hwn a'm anghyfiawnhâ? wele hwynt oll a heneiddiât fel dilledyn, gŵyfyn a'u hyssa hwynt. Pwy yn eich mŷsc sydd yn ofni'r Arglwydd? gwrandawed lais ei wâs ef, yr hwn a rodiodd mewn tywyllwch Esa. 50.5.

llwch, ac heb lewyrch iddo, gobeithed yn enw'r Ar-
glwydd, ac ymddiried ed yn ei Dduw. Wele chwi oll
yn cynneu tân, ac yn ymwregysu â gwreichion:
rhodiwch wrth lewyrch eich tân, ac wrth y gwreich-
ion a gynneuasoch, o'm llaw i y mae hyn i chwi,
mewn gofid y gorweddwch.

Yr Efengyl.

Mar.15.1.



AC yn y man y borau ymgynghorodd yr
arch-offeiriaid gyd â'r henuriaid, a'r
scrifennyddion, a'r holl senedd, ac wedi
iddynt rwymo'r Iesu, hwy a'i dugasant,
ac a'i traddodasant i Pilatus. A gofynn-
odd Pilatus iddo, ai ti wyt frenhin yr Iuddewon?
Yntef gan atteb a ddywedodd wrtho, yr wyt ti yn
dywedyd. A'r arch-offeiriaid a achwynasant arno ef
am lawer o bethau. A Philatus drachefn a ofynnodd
iddo, gan ddywedyd, ond attebi di ddim? wele gymm-
aint y maent yn eu tystiolaethu yn dy erbyn. A'r Ie-
su er hynny nid attebodd ddim, megis y rhyfeddodd
Pilatus. Ac ar yr ŵyl honno y gollynge ef yn rhydd
iddynt vn carcharor, yr hwn a ofynnent. Ac ydd
oedd vn a elwid Barabbas, yr hwn oedd yn rhwym
gyd â'i gyd-terfysc-wyr, y rhai yn y derfysc a wnaeth-
ent lofruddiaeth. A'r dyrfa gan lefain a ddechreu-
odd ddeisyf arno wneuthur fel y gwnaethe bob am-
ser iddynt. Pilatus a attebodd iddynt, gan ddywe-
dyd: a fynnwch chwi i mi ollwng yn rhydd i chwi
frenhin yr Iddewon? (Canys ef a ŵydde mai o gen-
figen y traddodase yr arch-offeiriaid ef) A'r arch-off-
eiriaid a annogasent y bobl i geisio yn hytrach oll-
wng o hono ef Barabbas yn rhydd iddynt. Yna Pi-
latus gan atteb a ddywedodd drachefn wrthynt:
beth gan hynny a fynnwch i mi ei wneuthyd i'r
hwn yr ydych yn ei alw brenhin yr Iddewon? Hwy-
thau

thau a lefasant trachefn, croes-hoelia ef. Yna Pilatus a ddywedodd wrthynt : ond pa ddrwg a wnaeth efe ? Hwythau a lefasont fwy-fwy croes-hoelia ef. A Philatus yn chwennych bodloni 'r bobl a ollyngodd yn rhydd iddynt Barabbas, ac a draddododd yr Iesu wedi iddo ei ffilangellu i'w groes-hoelio. A'r milwyr a'i dugasant ef ymmaith i fewn y llys, yr hwn yw 'r dadleu-dy, ac hwy a alwasant ynghyd yr holl fyddin: ac a'i gwiscasant ef â phorphor, ac wedi iddynt blethu coron o ddrain, hwy a'i dodasant am ei ben, ac a ddechreuasant gyfarch iddo: Hanphych well, Brenhin yr Iddewon. A hwynt a gurasant ei ben ef â chorsen, ac a boerasant arno, a chan ddodi eu gliniau i lawr a'i haddolasant ef. Ac wedi iddynt ei watwar ef, hwy a ddioscasant y porphor oddi am dano, ac a'i gwiscasant ef â'i ddillad ei hun, ac a'i dugasant allan fel y croes-hoelient ef. Hefyd hwy a gymmhellasant un Simon o Cyren, yr hwn oedd yn myned heibio, fel yr oedd efe yn dyfod o'r maes (tâd Alexander a Rufus) i ddwyn ei groes ef. Ac hwynt a'i harweinasant ef i le a elwid Golgotha, yr hwn yw o'i gyfiaithu, Penglogfa. Ac a roesant iddo i'w yfed wîn myrhllyd, eithr efe ni's cymmerth. Ac wedi iddynt ei groes-hoelio ef, hwy a rannasant ei ddillad ef, gan fwrw coel-brennau am danynt beth a gaffe bob un. A'r drydedd awr oedd hi pan groes-hoeliasant ef. Ac yr oedd scrifen ei achos wedi ei hargraphu, BRENHIN YR IUDDEWON. A hwynt a grogasant ddau leidr gyd ag ef, un ar y llaw ddehau, ar llall ar yr asswy. A'r scrythyr a gyflawnwyd, yr hon a ddywed, Ac ef a' gyfrifwyd gydâ rhai anwir. A'r rhai oeddynt yn myned heibio a'i cablent ef, gan yscwyd eu pennau, a dywedyd: och ty-di yr hwn a ddinistrit y Deml, a'i hadeiladu mewn tridiau, gwared ti dy hun a descyn oddiar y groes. Yr

un

vn ffunyd yr arch-offeiriaid gan ei watwar ef wrth ei gilydd, gŷd â'r scrifennyddion, a ddywedasant: eraill a achubodd efe, ac ni ddichon ei achub ei hun. Descynned Christ, Brenhin Israel yr awran oddi-ar y groes, fel y gwelom, ac y credom: a'r rhai a grogasid gŷd ag ef a ddannodasant iddo hefyd. A phan ddaeth y chweched awr, bu tywyllwch ar yr holl ddaear hyd y nawfed awr. Ac ar y nawfed awr y dolefodd yr Iesu â llêf vchel, gan ddywedyd Eloi, Eloi, lamma sabachthani? yr hyn yw o'i gyfiaithu, fy-Nuw, fy-Nuw, pa ham i'm gadewaist? A rhai o'r rhai oeddynt yn sefyll gar llaw pan glywsant, a ddywedasant, wele, y mae yn galw ar Elias. Ac vn a redodd, ac a lanwodd yspwrn o finegr, ac a'i dodes ar gorsen, ac o'i rhoddes iddo i yfed, gan ddywedyd, gedwch iddo, edrychwn a ddaw Elias i'w dynnu ef i lawr. A'r Iesu a lefodd â llêf vchel, ac a ymadawodd â'r yspryd. A llenn y Deml a rwygwyd yn ddwy o'r pen vchaf hyd yr isaf. A phan welodd y Canwriad yr hwn oedd yn sefyll gar llaw gyferbyn ag ef, ddarfod iddo yn llefain felly ymado â'r yspryd, ef a ddywedodd, yn wir, Mâb Duw oedd y dŷn hwn. Ac yr oedd gwragedd hefyd yn edrych o hir-bell, ym-mhlith y rhai yr oedd Mair Magdalen, a Mair (mam Iaco fychan, ac Iose) a Salome: Y rhai hefyd pan oedd efe yn Galilea, a'i dylynasant ef, ac a weinasant iddo, a llawer eraill y rhai a ddaethent ar vn-waith gŷd ag ef i fynu i Ierusalem. A phan ydoedd hi weithian yn hwyr, am ei bôd hi yn ddarparwyl, (sef y dŷdd cyn y Sabboth) daeth Ioseph o Arimathea, cynghorwr pendefigaidd (yr hwn oedd hefyd yn edrych am deyrnas Dduw) ac a aeth yn hŷf i mewn at Pilatus, ac a ofynnodd gorph yr Iesu. A rhyfedd oedd gan Pilatus o buase efe farw eusys,

ac wedi iddo alw y canwriad atto, gofynnodd iddo, a oedd efe wedi marw er ys meityn. A phan wybu ef y gwirionedd gan y canwriad, ef a roddes y corph i Joseph. Ac ef a brynodd liain-main, ac a'i tynnodd ef i lawr, ac a'i hamdôdd yn y llain-main, ac a'i dodes ef mewn bedd a naddasid o graig, ac a dreiglodd faen ar ddrŵs y bêdd. A Mair Magdalen, a Mair mam Jose a edrychasant pa le y dodid ef.

## Dydd merchur nesaf o flaen y Pâsc.

### Yr Epistol.

LLe byddo testament rhaid yw digwyddo marwolaeth y testamentudd. Canys o'r meirw y caiff y testament ei rym: oblegid nid oes nerth ynddo etto tra yw byw y testamentudd. O ba achos ni chyssegrwyd y cyntaf heb waed. Canys wedi traethu o Moses y gorchymmyn oll i'r bobl oll yn ôl y gyfraith, efe a gymmerodd waed lloi, a geifr, gŷd â dwfr, a gwlân porphor, ac isop, ac a'i taenellodd ar y llyfr, a'r bobl oll, gan ddywedyd, hwn yw gwaed y testament, yr hwn a orchymynnod Duw i chwi. Y tabernacl hefyd, a holl lestri y gwasanaeth a daenellodd efe â gwaed yr un môdd. A phob peth gan mwyaf wrth y gyfraith a burir trwy waed, ac heb ollyngdod gwaed nid oes maddeuant. Am hynny angenrheidiol oedd i bortreiadau y pethau sy yn y nefoedd gael eu puro â'r pethau hyn: a'r pethau nefol eu hunain ag aberthau gwell nâ'r rhai hyn. Canys nid i gyssegr o waith llaw yr aeth Christ yr hwn sydd bortreiad i'r gwir gyssegr: eithr efe a aeth i'r nefoedd i ymddangos yn awr gar bron Duw trosom ni. Ac nid i'w offrymmu ei hun yn fynych, fel y mae'r arch-offeiriaid yn Heb.9.16.

myned

myned i mewn i 'r cyſſegr bob blwyddyn a chanddo waed dieithr. Pe amgen rhaid fuaſe iddo ddyoddef yn fynych o ddechreuad y bŷd, eithr yr awr hon vn-waith yn-niwedd y bŷd yr ymddangoſes efe i ddeleu pechod trwy ei aberthu ei hun. Ac megis y goſodwyd i ddynion farw vn-waith, ac yn ôl hynny y bod barn, felly Chriſt hefyd a aberthwyd vnwaith i ddwyn ymmaith bechodau llawer, yr ail waith heb pechod yr ymddengys efe i'r rhai ſy yn ei ddiſgwil er iechydwriaeth.

Yr Efengyl.

Luc.22.1.



Wyl y bara croyw oedd yn agos yr hon a elwir y Pâſc A'r arch-offeiriaid, a'r ſcrifennyddion a geiſiaſant pa fodd y lladdent ef, oblegid yr oedd arnynt ofn y bobl. A Satan a aeth i mewn i Judas, yr hwn a gyfenwid Iſcariot, yr hwn oedd o rifedi 'r deuddeg. Ac ef a aeth ymmaith, ac a ymddiddanodd â 'r arch-offeiriaid, a'r llywodraeth-wyr, pa fodd y bradyche efe ef iddynt. Ac yr oedd yn llawen ganddynt, ac hwynt-hwy a gytunaſant ar roddi arian iddo. Ac ef a addawodd, ac a geiſiodd amſer cyfaddas i'w fradychu ef iddynt yn abſen y bobl. A daeth dŷdd y bara croyw, ar yr hwn yr oedd raid llâdd y Pâſc. Ac ef a anfonodd Petr ac Joan, gan ddywedyd, ewch a pharottowch i ni'r Pâſc, fel y gallom ei fwytta. A hwy a ddywedaſant wrtho ef, pa le y mynni i ni ei barottoi ef. Ac ef a ddywedodd wrthynt, wele, gwedi eich myned i mewn i'r ddinas, cyferfydd â chwi ddŷn yn dwyn ſteneid o ddwfr, canlynwch ef i'r tŷ yr êl efe i mewn. A dywedwch wrth ŵr y tŷ, y mae 'r Athro yn dywedyd wrthit ti,

ti, pa le y mae y lletŷfa, lle y bwytawyf y Pâsc gŷd â 'm discyblion? Yntef a ddengys i chwi oruwchstafell fawr wedi ei thanu, parotowch yno. Ac hwy a aethant ymmaith, ac a gawsant fel y dywedase efe wrthynt, ac a barottoesant y Pâsc. A phan ddaeth yr awr ef a eisteddodd i lawr, a'r deu-ddeg Apostl gŷd ag ef. Ac ef a ddywedodd wrthynt, mi a chwennychais yn fawr fwytta 'r Pâsc hwn gŷd a chwi cyn dyoddef o honof. Canys yr wyf yn dywedyd i chwi na fwytaf fi mwyach o honaw, hyd oni chyflawner yn-nheyrnas Dduw. Ac wedi iddo gymmeryd y cwppan, a rhoddi diolch, ef a ddywedodd, cymmerwch hwn, a rhennwch yn eich plith. Canys yr wyf yn dywedyd i chwi nad yfaf o ffrwyth y win-wydden, hyd yn y ddêl teyrnas Dduw. Ac wedi iddo gymmeryd bara, a rhoddi diolch, ef a'i torres, ac a'i rhoddes iddynt, gan ddywedyd, hwn yw fy-nghorph, yr hwn yr ydys yn ei roddi trosoch, gwnewch hyn er coffa am danaf. Yn yr vn modd hefyd wedi iddo swpperu, ef a gymmerth y cwppan, gan ddywedyd, Y cwppan hwn yw 'r Testament newydd yn fy-ngwaed i, yr hwn yr ydys yn ei dywallt trosoch. Eithr wele, llaw 'r hwn a 'm bradycha i sydd gŷd â mi ar y bwrdd. Ac yn wir y mae Mâb y dŷn yn myned megis y mae yn derfynedig, eithr gwae 'r dŷn hwnnw trwy 'r hwn y bradychir ef. Hwythau a ddechreuasant ymofyn yn eu plith eu hun, pwy o honynt oedd yr hwn a wnai hynny. A bu ymryson yn eu plith, pwy o honynt a dybygid ei fod yn fwyaf. Ac ef a ddywedodd wrthynt, y mae brenhinoedd y cenhedloedd yn arglwyddiaethu arnynt, a'r rhai sy mewn awdurdod arnynt a elwir yn bendefigion. Ond na fyddwch chwi felly: eithr y mwyaf yn eich plith, bydded

megis

megis y lleiaf, a'r pennaf megis yr hwn sydd yn gweini. Canys pwy vn fwyaf ai'r hwn sydd yn eistedd ar y bwrdd, ai'r hwn sydd yn gwasanaethu? ond mwyaf yr hwn sydd yn eistedd ar y bwrdd? eithr yr ydwyf fi yn eich mysc fel yr hwn sydd yn gwasanaethu. A chwy-chwi yw y rhai a arhosasoch gŷd â mi yn fy mhrofedigaethau. Ac yr wyf fi yn ordeinio i chwi deyrnas, megis yr ordeiniodd fy-Nhâd i minne. Fel y bwyttaoch ac yr yfoch ar fy mwrdd i yn fy nheyrnas, ac yr eisteddoch ar orseddfeudd yn barnu deu-ddeg-llwyth Israel. A'r Arglwydd a ddywedodd, Simon, Simon, wele, Satan a'ch ceisiodd chwi i'ch nithio fel gwenith. Eithr mi a weddiais trosot na ddiffygie dy ffŷdd di: dithe, pan y'th droer cadarnhâ dy frodyr. Ac efe a ddywedodd wrtho, ô Arglwydd, yr ydwyf fi yn barod i fyned gŷd â thi i garchar, ac i angeu. Yntef a ddywedodd, yr wyf yn dywedyd i ti Petr, ni chân y ceiliog heddyw nes i ti wadu dair-gwaith yr adwaeni fi. Ac ef a ddywedodd wrthynt, pan y'ch anfonais heb bwrs, na chôd, nac escidiau, a fu arnoch eisieu dim? a hwy a ddywedasant, Na ddo ddim. Yntef a ddywedodd wrthynt; ond yn awr, y neb sydd ganddo bwrs, cymmered; a'r vn modd gôd: a'r neb nid oes ganddo, gwerthed ei bais, a phryned gleddyf. Canys yr wyf yn dywedyd i chwi fod yn rhaid etto gyflawni ynof fi y peth hyn a scrifennwyd, sef, A chŷd â'r anwir y cyfrifwyd ef: canys y mae diwedd i'r pethau a scrifennwyd am danaf fi. A hwy a ddywedasant, Arglwydd, wele ddau gleddyf ymma, ac ef a ddywedodd wrthynt, digon yw. Ac wedi iddo fyned allan, ef a aeth (yn ôl ei arfer) i fynydd yr Olew-wydd, a'i ddiscyblon a'i canlynasant ef. A phan ddaeth efe i'r man, ef a ddywedodd wrthynt, gweddiwch nad eloch mewn temtasiwn. Ac ef a

dynnwyd

dynnwyd oddi wrthynt tu ag ergyd carreg, ac a ddodes ei liniau i lawr ac a weddiodd, gan ddywedyd, fy-Nhâd, os ewyllysi, symmud y cwppan hwn oddiwrthif: er hynny, nid fy ewyllys i, ond dy ewyllys di a wneler. Ac angel o'r nef a ymddangosodd iddo yn ei gadarnhau ef. Eithr efe mewn ymdrech meddwl a weddiodd yn ddyfalach, a'i chwŷs ef oedd fel deigrau gwaed yn descyn ar y ddaear. A phan gododd efe o'i weddi, a dyfod at ei ddiscyblon, ef a'u cafodd hwynt yn cyscu gan dristwch. Ac ef a ddywedodd wrthynt, pa ham yr ydych yn cyscu? codwch, a gweddiwch rhag eich myned mewn temtasiwn. Ac efe etto yn llefaru, wele dyrfa, a'r hwn a elwid Judas, vn o'r deu-ddeg, a aeth o'u blaen hwynt, ac a nesâodd at yr Jesu i'w gusanu ef. A'r Jesu a ddywedodd wrtho, Judas, ai â chusan y bradychi di Fâb y dŷn? A phan welodd y rhai oedd yn ei gylch ef y peth oedd ar ddyfod, hwy a ddywedasant wrtho, ô Arglwydd, a darawn ni â chleddyf? Ac vn o honynt a darawodd wâs yr Arch-offeiriad, ac a dorodd ymmaith ei glûst ddehau ef. A'r Jesu a attebodd, ac a ddywedodd, goddefwch hyd hyn. Ac efe wedi iddo gyffwrdd â 'i glust ef a'i hiachâodd ef. A'r Jesu a ddywedodd wrth y rhai a ddaethent atto ef, sef, yr arch-offeiriaid, a llywodraethwŷr y Deml, a'r henuriaid: ai fel at leidr y daethochwi allan â chleddyfau, a ffynn? Pan oeddwn beunydd gŷd â chwi yn y Deml, nid estynnasoch eich dwylo i'm herbyn, eithr hon yw 'ch awr chwi, a gallu'r tywyllwch. Ac hwy a'i daliasant ef, ac a'i harweinasant, ac a'i dugasant ef i mewn i dŷ 'r Arch-offeiriad. A Phetr a ganlynodd o hir-bell. Ac wedi iddynt gynneu tân ynghanol y neuadd, a chyd-eistedd, eisteddodd Petr hefyd yn eu plith. A phan ganfu rhyw langces ef yn eistedd

wrth y tân a dal sylw arno, hi a ddywedodd, yr oedd hwn hefyd gŷd ag ef. Yntef a'i gwadodd ef, gan ddywedyd, ha-wraig, nid adwen ef. Ac ychydig wedi, arall a'i gwelodd ef, ac a ddywedodd, a thithe wyt vn o honynt. A Phetr a ddywedodd, ô ddŷn nid ydwyf. Ac ynghylch pen awr yn ôl hynny, vn arall a daerodd gan ddywedyd, yn wir yr oedd hwn gŷd ag ef, canys Galilêad yw efe. A Phetr a ddywedodd, y dŷn, nis gwn beth yr wyt yn ei ddywedyd: ac yn y man, ac efe etto yn llefaru, canodd y ceiliog. Yna troes yr Arglwydd, ac edrychodd ar Petr: a Phetr a gofiodd ymadrodd yr Arglwydd, fel y dywedase efe wrtho, cyn canu 'r ceiliog y gwedi fi deir-gwaith. A Phetr a aeth allan, ac a ŵylodd yn chwerw-dôst. A'r gwŷr a ddaliasent yr Jesu, a'i gwatwarasant ef, gan ei daro. Ac wedi iddynt guddio ei lygaid ef, tarawsant ef ar ei ŵyneb, ac a ofynnasant iddo, gan ddywedyd, prophwyda pwy yw 'r hwn a'th darawodd. A llawer o bethau eraill a ddywedasant yn ei erbyn ef, gan gablu. A phan ddyddhaodd hi ymgynnhullodd henuriaid y bobl, a'r arch-offeriaid, a'r scrifennyddion: ac a'i dugasant ef i'w senedd, gan ddywedyd, ai ti yw Christ? dywed i ni: ac ef a ddywedodd wrthynt, os dywedaf i chwi ni's credwch. Ac os gofynnaf i chwi nid attebwch fi, ac ni'm gollyngwch ymmaith. Yn ôl hyn y bydd Mâb y dŷn yn eistedd ar ddeheu-law gallu Duw, A hwy oll a ddywedasant, ai ti gan hynny yw Mâb Duw? ac ef a ddywedodd wrthynt, yr ydych chwi yn dywedyd fy môd. Hwythau a ddywedasant, pa raid i ni mwyach wrth dystiolaeth: canys clywsom ein hunain o'i enau ef ei hun.

## Dydd Iou nesaf o flaen y Pâsc.

### Yr Epistol.



Hyn yr ydwyf yn ei ddywedyd heb 1.Cor.11.17.
eich canmol, eich bod yn ymgynnull
nid i wellau, ond i waethygu. Ca-
nys yn gyntaf pan ymgynnulloch
yn yr eglwys, yr ydwyf yn clywed
fod anghydfod yn eich mŷsc chwi, ac
o ran yr wyf fi yn credu. O herwydd rhaid yw he-
fyd bod yn eich mŷsc heresiau, megis y byddo yn
eglur y rhai cymmeradwy yn eich plith chwi. Am
hynny pan ddeloch ynghŷd i'r vn-man ni cheir bw-
yta swpper yr Arglwydd. Canys pawb a fwytty
ei swpper ei hun o'r blaen, ac vn sydd a newyn ar-
no, ac arall sydd yn feddw. Onid oes gennych dai
i fwyta, ac i yfed ynddynt? ai dirmygu yr ydych
chwi eglwys Dduw? ac a ydych chwi yn gwra-
dwyddo y rhai nid oes ganddynt? pa beth a ddy-
wedaf wrthych? a ganmolaf chwi? yn hyn nid
wyf yn eich canmol. Canys gan yr Arglwydd y
derbyniais i y peth a draddodais i chwi, bod i'r
Arglwydd Iesu y nôs y bradychwyd ef, gymmeryd
bara, ac wedi iddo ddiolch, ef a'i torrodd, ac a
ddywedodd, cymmerwch, bwytewch, hwn yw fy-
nghorph yr hwn a dorrir trosoch, gwnewch hyn
er coffa am danaf. A'r vn modd efe a gymmerodd
y cwppan wedi swpper, gan ddywedyd, y cwp-
pan hwn yw'r Testament newydd yn fy-ngwa-
ed, gwnewch hyn cynnifer gwaith ac yr yfoch er
coffa am danaf. Canys cynnifer gwaith ac y bw-
ytaoch y bara hwn, ac yr yfoch y cwppan hwn,
y dangoswch farwolaeth yr Arglwydd oni dde-
lo. Am hynny pwy bynnag a fwytao y bara hwn,

ac a yfo gwppan yr Arglwydd yn an-nheilwng, euog fydd o gorph, a gwaed yr Arglwydd. Eithr profed dyn ef ei hun, ac felly bwytaed o'r bara, ac yfed o'r cwppan. Canys yr hwn sydd yn bwyta, ac yn yfed yn an-nheilwng, sydd yn bwyta, ac yn yfed damnedigaeth iddo ei hun, am nad yw yn iawn farnu corph yr Arglwydd. Oblegid hyn y mae llawer yn weniaid, ac yn llêsc yn eich mysc, a llawer yn huno. Canys pe iawn farnem ni ein hunain, ni 'n bernid. Eithr pan y'n bernir, y'n cospir gan yr Arglwydd, rhag ein damnio gyd â'r byd. Am hynny fy-mrodyr, pan ddeloch ynghyd i fwyta, arhoswch ei gilydd. Eithr os bydd newyn ar neb, bwytaed gartref, rhag i chwi ymgasclu i ddamnedigaeth. Ac am bethau eraill mi a'u trefnaf pan ddelwyf.

## Yr Efengyl.

Luc.23.1. 

Na y cyfododd yr holl liaws o honynt, ac a'i dugasant at Pilatus. Ac hwy a ddechreuasant achwyn arno, gan ddywedyd, ny-ni a gawsom hwn yn gwyr-droi 'r bobl, ac yn gwahardd rhoddi teyrn-ged i Cêsar, gan ddywedyd mai efe yw Christ Frenhin. A Philatus a ofynnodd iddo, gā ddywedyd, ai ti yw Brenhin yr Iddewon? Yntef a attebodd iddo, ac a ddywedodd, yr wyt ti yn dywedyd. A dywedodd Pilatus wrth yr arch-offeiriaid, a'r bobl, nid wyf fi yn cael dim bai ar y dyn hwn. Ac hwy a fuant daerach, gan ddywedyd, y mae efe yn cyffroi'r bobl, gā ddyscu trwy holl Iudêa, wedi dechreu o Galilêa hyd ymma. A phā glybu Pilatus sôn am Galilêa, ef a ofynnodd ai Galilêad oedd efe. A phan wybu efe ei fod ef o lywodraeth Herod, ef a'i hanfonodd ef at Herod, yr hwn oedd yntef y dyddiau

ddiau hynny yn Jerusalem. A phan welodd Herod yr Iesu ef a lawenychodd yn fawr: am ei fod yn ewyllysio ei weled ef er ys talm, oblegid iddo glywed llawer am dano ef, ac yr oedd efe yn gobeithio cael gweled gwneuthur rhyw wyrthiau ganddo. Ac efe a'i holodd ef mewn llawer o eiriau, eithr nid attebodd efe ddim iddo. A'r archoffeiriaid, a'r scrifennyddion a safasant, ac a achwynasant arno yn haerllyg. A Herod a'i luedd-wŷr wedi iddo ei ddiystyru ef, a'i watwor, a'i wisco, â gwisc glaerwen, a'i danfonodd ef drachefn at Pilatus. A'r dŷdd hwnnw yr aeth Pilatus a Herod yn gyfeillion i'w gilydd, canys yr oeddynt o'r blaen mewn gelyniaeth â'i gilydd. A Philatus wedi iddo alw ynghŷd yr arch-offeiriaid, a'r llywiawd-wŷr, a'r bobl, a ddywedodd wrthynt, chwy-chwi a ddugasoch y dŷn hwn attaf fi, fel vn a fydde yn gŵyr-droi 'r bobl, ac wele, mi a'i holais ef yn eich gŵydd chwi, ac ni chefais yn y dŷn hwn vn bai, o'r pethau yr ydych chwi yn achwyn arno am danynt: na Herod chwaith: canys anfonais chwi atto ef, ac wele, ni wnaed iddo ef ddim yn haeddu marwolaeth. Am hynny mi a'i cospaf, ac a'i gollyngaf yn rhŷdd. (Canys yr oedd yn rhaid iddo ollwng vn yn rhydd iddynt ar yr ŵyl) A'r holl liaws a lefodd ar vn-waith, gan ddywedyd, ymmaith ag ef, a gollwng ini yn rhŷdd Barabbas: (yr hwn am ryw derfysc a wnaethid yn y ddinas, ac am lofruddiaeth, oedd wedi ei fwrŵ yngharchar.) Am hynny Pilatus a lefarodd wrthynt drachefn gā ewyllysio gollwng yr Iesu yn rhŷdd. A hwy a wrthlefasant, gan ddywedyd, croes-hoelia, croes-hoelia ef. Yntef a ddywedodd wrthynt y drydedd waith: eithr pa ddrŵg a wnaeth efe? ni chefais i ddim achos marwolaeth ynddo, am hynny mi a'i cospaf, ac a'i gollyngaf yn rhŷdd. Hwythau a fuant daerion â llefain

sain vchel, gan ddeisyfu ei groes-hoelio ef, a'u llefain hwynt a'r arch-offeiriaid a orfuant. A Philatus a farnodd wneuthur eu deisyfiad hwynt: ac a'i gollyngodd ef yn rhydd iddynt, yr hwn am dersysc a llofruddiaeth a fwriasid yngharchar yr hwn a ddeisyfiasant, ac a draddododd yr Jesu i'w hewyllys hwynt. A phan oeddynt yn ei ddwyn ef ymmaith, daliasant vn Simon o Cyrene, yn dyfod o'r maes, ac a ddodasant y groes arno ef, i'w dwyn ar ôl yr Jesu. Ac yr oedd yn ei ganlyn ef liaws mawr o'r bobl, ac o wragedd, y rhai oeddynt yn cwynfan, ac yn galaru o'i blegid ef. A'r Jesu gan droi attynt, a ddywedodd, merched Jerusalem, nac ŵylwch o'm hachos i, eithr ŵylwch o'ch achos eich hunain, ac o achos eich plant. Canys wele, y mae'r dyddiau yn dyfod yn y rhai y dywedant, gwyn eu hŷd y rhai am-mhlantadwy, a'r crothau ni heppiliasant, a'r bronnau ni roesant sugn. Yna y dechreuant ddywedyd wrth y mynyddoedd, syrthiwch arnom, ac wrth y bryniau, cuddiwch ni. Canys os gwnânt hyn i'r pren îr, pa beth a wnânt i'r crîn? A dygwyd hefyd ddau eraill, y rhai oeddynt ddrwg-weithred-wŷr, i'w rhoi i'w marwolaeth gŷd ag ef. A phan ddaethant i'r lle a elwir Penglogfa, yna y croes-hoeliasant ef a'r drwg-weithred-wyr, vn ar ei ddeheu-law, a'r llall ar ei law asswy. A'r Jesu a ddywedodd, ô Dâd, maddeu iddynt, canys ni ŵyddant pa beth y maent yn ei wneuthur. Ac hwynt-hwy a rannasant ei ddillad ef, ac a fwriasant goel-brennau. A'r bobl a safasant yn edrych, a'r pennaethiaid hefyd a'i gwatwarasant ef gŷd a hwynt, gan ddywedyd, ef a achubodd eraill, achubed ef ei hun, os hwn yw Christ detholedig Duw. A'r milwyr hefyd a'i gwatwarasant ef, gan ddyfod atto, a chynnyg iddo finegr,

finegr, a dywedyd, os ty-di yw brenhin yr Iddewon, achub dy hun. Ac yr ydoedd scrifen wedi ei scrifennu uwch ei ben â llythyrennau Groeg, Lladin, ac Ebrew: HWN YW BRENHIN YR IDDEWON. Ac un o'r drwg-weithred-wŷr a grogasid a'i cablodd ef, gan ddywedyd, os ty-di yw Christ, achub dy hun, a ninnau. A'r llall a attebodd, ac a'i ceryddodd ef, gan ddywedyd, ond ydwyt ti yn ofni Duw, am dy fôd tan yr un ddamnedigaeth? A ny-ni yn ddiau a gospir yn gyfiawn, canys yr ydym yn derbyn yr hyn sydd addas am yr hyn a wnaethom, eithr ni wnaeth hwn ddim anghymmhesur. Ac ef a ddywedodd wrth yr Iesu, Arglwydd, coffa fi pan ddelech i'th deyrnas. A'r Iesu a ddywedodd wrtho, yn wir, meddaf i ti, heddyw y byddi di gŷd â mi ym-mharadwys. Ac yr ydoedd hi ynghylch y chweched awr, a thywyllwch a fu ar yr holl ddaear hyd y nawfed awr. A'r haul a dywyllwyd, a llenn y deml a rwygwyd yn ei chanol. A'r Iesu gan lefain â llêf uchel a ddywedodd, fy-Nhâd, i'th ddwylo y gorchymmynnaf fy yspryd: ac wedi iddo ddywedyd hyn, ef a drengodd. A phan welodd y canwriad yr hyn a wnaethpwyd, ef a ogoneddodd Dduw, gan ddywedyd, yn wir yr oedd y dŷn hwn yn gyfiawn. A'r holl bobl y rhai a ddaethent ynghŷd i edrych hyn, wrth weled y pethau a wnaethpwyd, a ddychwylasant, gan guro eu dwyfronnau. A'i holl gydnabod ef a safasant o hir-bell, a'r gwragedd y rhai a'i canlynasent ef o Galilêa, yn edrych ar y pethau hyn. Ac wele, gŵr a'i enw Ioseph, yr hwn oedd gynghorwr, gŵr da, a chyfiawn, (hwn ni chytunasei â'u cyngor, ac â'u gweithred hwynt) o Arimathêa dinas yr Iddewon, yr hwn oedd yntef yn disgwil am deyrnas Dduw. Hwn a aeth at Pilatus ac a ofynnodd gorph

yr Iesu. Ac wedi iddo ei dynnu ef i lawr, ef a'i hamdoes mewn llain-main, ac a'i dodes mewn bedd wedi ei dorri o graig, lle ni ddodasid neb er ioed. A'r dydd hwnnw oedd ddarparwyl, a'r Sabboth oedd yn canlyn. A'r gwragedd hefyd y rhai a'i canlynasent, ac oeddynt wedi dyfod gyd ag ef o Galilêa, a edrychasant ar y bedd, a pha fodd y dodwyd ei gorph ef. Ac wedi eu dychwelyd hwynt, hwy a barottoesant ber-aroglau, ac ennaint, ac a orphywysasant ar y Sabboth yn ôl y gorchymmyn.

## Dydd Gwener y Croc-lith.

### Y Colectau.

HOll-alluog Dduw, ni a attolygwn i ti edrych o honot yn rasusol ar dy dŷ-lu hwn ymma, tros yr hwn y bu foddlawn gan Iesu Grist gael ei fradychu, a'i roddi yn nwylaw dynion anwir, a diodddef angau ar y groes, yr hwn a fywocâ ac a deyrnasa yn oes oesoedd. Amen.

HOll-alluog a thragywyddol Dduw, trwy Yspryd pa un y llywodraethir ac y sancteiddir holl gorph yr Eglwys derbyn ein erfynion, a'n gweddiau, y rhai yr ydym ni yn eu hoffrwm ger dy fron dros bob gradd o ddynion yn dy sanctaidd gynnulleidfa, hyd pan fo i bob aelod o honynt yn ei alwedigaeth a'i wasanaeth allu yn gywir, ac yn dduwiol dy wasanaethu, trwy ein Harglwydd Iesu Grist. Amen.

O Drugarog Dduw, yr hwn a wnaethost bob dŷn, ac ni chas-hei ddim ar a wnaethost, ac ni fynnit farwolaeth pechadur, onid yn hyttrach ymchwelyd o honaw a byw: tragarhâ wrth yr holl

Iuddewon,

Iuddewon, Twrciaid, Anffyddlonion, ac hereticiaid, a chymmer oddi-wrthynt holl annwybodaeth, caledwch calon, a thremyg ar dy air: Ac felly dwg hwynt adref wynfydedic Arglwydd at dy ddefaid, fel y bônt yn gadwedic ym-mhlith gweddilliō y gwîr Israeliaid, a bod yn vn gorlan, dan yr vn bugail Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

## Yr Epistol.



Y Gyfraith yr hon sydd ganddi gyscod daionus bethau i ddyfod, ac nid gwir ddelw y pethau, ni alle byth berffeithio y dyfodiaid drwy 'r aberthau hynny, y rhai bob blwyddyn a offrymment yn oestadol. Pe amgen hwy a beidiasent â'i hoffrymmu, am na buase dim cydwybod pechod mwyach gan y rhai a offrymmasent wedi eu glanhau vn-waith. Eithr yn y rhai hynny y bydd bob blwyddyn adcoffa pechodau. Canys ni ddichon gwaed teirw a geifr dynnu ymmaith bechodau. O ba achos y mae efe wrth ddyfod i'r bŷd yn dywedyd, Aberth ac offrwm ni's mynnaist: eithr corph a gymhwysaist i mi. Offrymmau poeth, a thros bechod, ni buost fodlon iddynt. Yna dywedais, wele fi yn dyfod, (y mae yn scrifennedig yn-nechrau y llyfr am danaf) i wneuthur dy ewyllys di, ô Dduw. Wedi iddo ddywedyd vchod, Aberth, ac offrwm, ac offrymmau poeth, a thros bechod ni's mynnaist, ac nid ymfodlonaist ynddynt, (y rhai a offrymir wrth y gyfraith:) yna y dywedodd, wele fi yn dyfod i wneuthur dy ewyllys di, ô Dduw. Y mae yn tynnu ymaith y cyntaf, er mwyn gosod o honaw 'r ail. Trwy 'r hwn ewyllys yr ydym wedi ein sancteiddio, trwy offrymiad corph Iesu Ghrist vn-waith. Am hynny pob offeiriad sydd yn se- Heb.10.1.

fyll

fyll beunydd, gan wasanaethu, ac offrymmu yn fynych yr un aberthau, y rhai ni allant fyth ddeleu pechodau. Eithr hwn wedi iddo offrymu un aberth tros bechodau, sydd yn dragywyddol yn eistedd ar ddeheu-law Duw: gan arhos yr hyn sydd yn ôl, hyd oni osoder ei elynion ef yn droed-faingc i'w draed ef. Canys ag un offrwm y perffeithiodd efe yn dragwyddol y rhai sy wedi eu sancteiddio. Y mae yr Yspryd glân hefyd yn tystiolaethu i ni hyn: canys ar ôl iddo ef ddywedyd ym-mlaenllaw, Dymma'r cyfammod yr hwn a ammodaf â hwynt ar ôl y dyddiau hynny, medd yr Arglwydd, my-fi a osodaf fy-nghyfreithiau yn eu calonau, ac a'u scrifennaf yn eu meddyliau, ac ni chofiaf mwyach eu pechodau, a'u hanwireddau hwynt. A lle byddo maddeuant am y rhai hyn, ni bydd mwyach offrwm tros bechod. Am hyn frodyr gan fod i ni rydd-did i fyned i mewn i'r cyssegr trwy waed Iesu, ar hyd y ffordd a gyssegrodd efe i ni yn newydd, ac yn fyw, trwy'r llen, sef ei gnawd, a bôd i ni Arch-offeiriad ar dŷ Dduw, nessawn â chalon gywir mewn llawn hyder ffŷdd, wedi puro ein calonnau oddi wrth gydwybod ddrwg, a golchi ein corph â dwfr glân: dalywn gyffes ein gobaith yn ddisigl: (canys ffyddlon yw'r hwn a addawodd) a chydystyriwn ei gilydd, i ymannog i gariad a gweithredoedd da: heb wrthod ein cyd-gynnhulliad ein hun, fel y mae arfer rhai, eithr ymgynghorwn, a hynny yn fwy, o achos eich bod yn gweled y dydd yn nessau.

## Yr Efengyl.

Ioan. 18. 1. Gwedi i'r Iesu ddywedyd y geiriau hyn, ef a aeth allan gŷd â'i ddiscyblon tros afon Cedron, lle 'dd oedd gardd, i'r hon yr aeth

efe

efe a'i ddiscyblon. A Judas hefyd yr hwn a'i bradychodd ef a adwaene 'r lle hwnnw, canys mynych y cyniwerase yr Jesu yno gyd â' i ddiscyblon. A Judas (wedi iddo dderbyn byddin, a swyddogion gan yr arch-offeiriaid, a 'r Phariseaid) a ddaeth yno â lanternau, a ffaglau, ac arfau. A'r Jesu yn gwybod pob peth a ddele iddo, a aeth allan, ac a ddywedodd wrthynt: pwy yr ydych yn ei geisio? Hwy attebasant iddo, yr Jesu o Nazareth. Yr Jesu a ddywedodd wrthynt, my-fi yw hwnnw: ac yr oedd Judas hefyd yr hwn a'i bradychodd ef yn sefyll gyd â hwynt. A chyn gynted ac y dywedodd ef wrthynt, my-fi yw hwnnw, hwy a aethant yn wysc eu cefnau, ac a syrthiasant i lawr. Am hynny ef a ofynnodd iddynt drachefn, pwy yr ydych yn ei geisio? Hwythau a ddywedasant, yr Jesu o Nazareth. Yr Jesu a attebodd, dywedais wrthych mai my-fi yw hwnnw: gan hynny os my-fi a geisiwch, gedwch i'r rhai 'n fyned ymaith: Er cyflawni y gair a ddywedase efe, o'r rhai a roddaist i mi, ni chollais i neb. Am hynny Simon Petr a chanddo gleddyf a'i tynnodd, ac a darawodd wâs yr Arch-offeiriad, ac a dorrodd ymmaith ei glust ddehau ef: ac enw y gwâs oedd Malchus. Ar Jesu a ddywedodd wrth Petr, dôd dy gleddyf yn y wain: y cwppan a roddes y Tâd i mi onid yfaf o honaw? Yna 'r fyddin, a'r Milwriad a swyddogion yr Iddewon a ddaliasant yr Jesu, ac a'i rhwymasant ef, ac a'i dugasant ef at Annas yn gyntaf, canys chwegrwn Caiphas yr hwn oedd Arch-offeiriad y flwyddyn hōno, ydoedd efe. Caiphas hefyd oedd yr hwn a gynghorase i'r Iddewon, mai buddiol oedd farw un dŷn tros y bobl. A Simon Petr, a discybl arall, oedd yn cālyn yr Jesu: a'r Arch-offeiriad a adwaene y discybl hwnnw, ac ef a aeth i mewn gyd â'r Jesu i neuadd yr

Arch-

Arch-offeiriad. A Phetr a safodd allan wrth y drws, a'r discybl arall a aeth allan, yr hwn oedd adnabyddus gan yr Arch-offeiriad, ac a ddywedodd wrth y ddrysores, ac a ddûg Betr i mewn. Yna y dywedodd y llangces, yr hon oedd ddrysores wrth Betr: onid wyt tithe yn vn o ddiscyblon y dŷn hwn? ac ef a ddywedodd, nac wyf. A'r gweision a'r swyddogion oeddynt yn sefyll yno, wedi gwneuthur tân glo, canys oerfel oedd, ac yr oeddynt yn ymdwymno, ac yr oedd Petr gŷd â hwynt yn sefyll, ac yn ymdwymno. A'r Arch-offeiriad a ofynnodd i'r Iesu am ei ddiscyblon, ac am ei athrawiaeth. Yr Iesu a attebodd iddo, my-fi a leferais ar osteg wrth y bŷd, my-fi a athrawiaethais yn oestadol yn y synagog, ac yn y Deml, lle y mae'r Iddewon oll yn dyfod ynghŷd, ac ni ddywedais ddim yn ddirgel. Pa ham yr ydwyt yn gofyn i mi? gofyn i'r rhai a'm clywsant, beth a ddywedais wrthynt, wele hwynt-hwy a wyddant pa bethau a ddywedais i. Wedi iddo ddywedyd y pethau hyn, vn o'r swyddogion, o'r a oedd yn sefyll gar llaw, a roddes gernod i'r Iesu, gan ddywedyd, ai felly yr wyt ti yn atteb yr Arch-offeiriad? Yr Iesu a attebodd iddo, os drwg y dywedais, tystiolaetha o'r drwg: ac os da pa ham yr wyt yn fy-nharo i? Ac Annas a'i hanfonase ef yn rhwym at Caiphas yr Arch-offeiriad. A Simō Petr oedd yn sefyll, ac yn ymdwymno, ac hwy a ddywedasant wrtho, onid wyt tithe vn o'i ddiscyblon ef? Yntef a wadodd, ac a ddywedodd, nag wyf. Vn o weision yr Arch-offeiriad, câr i'r hwn y torrase Petr ei glûst, a ddywedodd, Oni welais i di gŷd ag ef yn yr ardd? A Phetr a wadodd drachefn, ac yn y man canodd y ceiliog. Yna y dugasant yr Iesu oddi wrth Caiphas i'r dadleu-dŷ: a'r boreu ydoedd: ac nid aethont hwy i mewn i'r dadleu-dŷ rhag eu halogi, fel y gallent fwyta 'r Pâsc. Am hynny Pilatus a aeth

allan

allan attynt, ac a ddywedodd, pa achwyn yr ydych chwi yn ei ddwyn yn erbyn y dŷn hwn? Hwy a attebasant, ac a ddywedasant wrtho: oni bai ei fod ef yn gwneuthur drŵg, ni thraddodasem ni ef attat ti. Am hynny dywedodd Pilatus wrthynt, cymmerwch chwi ef, a bernwch ef wrth eich cyfraith chwi. Yna 'r Iddewon a ddywedasant wrtho, nid cyfreithlawn i ni lâdd neb. Fel y cyflawnid gair yr Iesu yr hwn a ddywedase efe i arwyddoccau o ba angeu y bydde efe farw. Am hynny Pilatus a aeth drachefn i mewn i'r dadleu-dŷ, ac a alwodd yr Iesu, ac a ddywedodd wrtho: ai ti yw Brenhin yr Iddewon? Yr Iesu a attebodd iddo: ai o honot dy hun yr wyt yn dywedyd hyn, ai eraill a'i dywedasant i ti am danaf? Pilatus a attebodd, ai Iddew wyf fi? dy genhedl dy hun, a'r arch-offeiriaid a'th draddodasāt i mi, beth a wnaethost di? Yr Iesu attebodd, nid yw fy mrenhiniaeth i o'r bŷd hwn: pettei fy-mrenhiniaeth i o'r bŷd hwn, fy-ngwasanaeth-wŷr a ymdrechent fel na'm traddodid i'r Iddewon: ond yn awr nid yw fy-mrenhiniaeth i oddi ymma. Am hynny dywedodd Pilatus wrtho, ai brēhin gan hynny wyt ti? Yr Iesu a attebodd, tydi ydwyt yn dywedyd mai brenhin wyf fi: er mwyn hyn y 'm ganed, ac er mwyn hyn y daethum i'r bŷd, i ddwyn tystiolaeth i'r gwirionedd: pwy bynnag sydd o'r gwirionedd sydd yn gwrandaw fy lleferydd. Pilatus a ddywedodd wrtho, beth yw gwirionedd? ac wedi iddo ddywedyd hyn, ef a aeth allan drachefn at yr Iddewon, ac a ddywedodd wrthynt: nid wyf fi yn cael dim bai arno ef. Y mae gennych chwi ddefod, i mi ollwng i chwi un yn rhydd ar y Pâsc: a ewyllysiwch chwi gan hynny i mi ollwng yn rhydd i chwi frenhin yr Iddewon? Yna y llefasant oll drachefn, gan ddywedyd: Nid hwn, ond Barabbas. A'r Barabbas

Pen.19. rabbas hwnnw oedd leidr. YNA gan hynny cymmerodd Pilatus yr Iesu, ac a'i fflangellodd ef. A'r milwyr a blethasant goron o ddrain, ac a'i dodasant ar ei ben ef, ac a'i gwiscasant â gwisc borphor, ac a ddywedasant, hanpych well, Brenhin yr Iddewon. Ac hwy a roesant iddo gernodiau. A Philatus a aeth allan drachefn, ac a ddywedodd wrthynt, wele 'r wyf fi yn ei ddwyn ef allan i chwi, fel y gwypoch nad wyf fi yn cael ynddo ddim bai. Yna y daeth yr Iesu allā yn arwain coron o ddrain, a'r wîsc borphor, a Pilatus a ddywedodd wrthynt, wele 'r dŷn. Yna'r arch-offeiriaid, a'r swyddogion pan welsant ef a lefasant, gā ddywedyd, croes-hoelia, croes-hoelia ef: Pilatus a ddywedodd wrthynt, cymmerwch chwi ef, a chroes-hoeliwch, canys nid wyf fi yn cael ynddo fai. Yr Iddewon a attebasant iddo, y mae gennym ni gyfraith, ac wrth ein cyfraith ni ef a ddyle farw, am iddo ei wneuthur ei hun yn Fab Duw. A phan glybu Pilatus yr ymadrodd hwnnw ef a ofnodd yn fwy, ac a aeth drachefn i mewn i'r dadleu-dŷ, ac a ddywedodd wrth yr Iesu, o ba le 'dd wyt ti? ond ni roes yr Iesu atteb iddo. Yna Pilatus a ddywedodd wrtho, oni ddywedi di wrthif fi? oni wyddost ti fod i mi awdurdod i'th groes-hoelio di, a bod i mi awdurdod i'th ollwng di yn rhŷdd? Yr Iesu a attebodd, ni bydde i ti ddim awdurdod arnaf fi, oni bai ei fod wedi ei roddi i ti odduchod: am hynny yr hwn a'm traddodes i ti sydd yn fwy ei bechod. O hynny allan ceisiodd Pilatus ei ollwng ef yn rhŷdd: a'r Iddewon a lefasant, gan ddywedyd, os gollyngi di hwn yn rhŷdd, nid wyt ti garedig i Cêsar: pwy bynnag a'i gwnêl ei hun yn frenhin, y mae efe yn dywedyd yn erbyn Cêsar. Pan glybu Pilatus yr ymadrodd hwn, ef a ddûg allan yr Iesu, ac a ei-

a eisteddodd ar yr orseddfaingc yn y lle a elwir Lithostrotos, ac yn Hebrew Gabbatha. A darpar wyl y Pâsc oedd hi, ac ynghylch y chweched awr: ac ef a ddywedodd wrth yr Iddewon, wele eich Brenhin. Hwythau a lefasant, ymmaith ag ef, ymmaith ag ef, croes-hoelia ef. Pilatus a ddywedodd wrthynt, a groes-hoeliaf fi eich Brenhin chwi? a'r arch-offeiriaid a attebasant, nid oes i ni frenhin ond Cêsar. Yna gan hynny ef a'i traddodes ef iddynt i'w groes-hoelio. Ac hwy a gymmerasant yr Iesu ac a'i dugasant ymmaith. Ac efe gan ddwyn ei groes a ddaeth i le a elwid Penglogia, yr hwn a elwir yn Hebrew Golgotha: lle y croes-hoeliasant ef, a dau eraill gyd ag ef, un o bob tu, a'r Iesu yn y canol. A Philatus a scrifennodd ditl, ac a'i dodes ar y groes. A'r hyn a scrifennasid oedd, IESV O NAZARETH BRENHIN YR IDDEWON. A llawer o'r Iddewon a ddarllennasant y titl hwn: canys agos i'r ddinas oedd y lle y croes-hoeliasid yr Iesu: ac yr oedd wedi ei scrifennu yn Hebrew, Groeg, a Lladin. Yna arch-offeiriaid yr Iddewon a ddywedasant wrth Pilatus, na scrifenna, Brenhin yr Iddewon, eithr dywedyd o honaw ef, Brenhin yr Iddewon ydwyf fi. Pilatus a attebodd, yr hyn a scrifennais, a scrifennais. A'r milwyr pan ddarfu iddynt groes-hoelio yr Iesu, a gymmerasant ei ddillad ef, (ac a'u gwnaethant yn bedair rhan, i bôb milwr ran) a'i bais ef. A'i bais ef oedd ddi-wnîad, wedi ei gweu o'r cwr uchaf oll. Am hynny hwy a ddywedasant yn eu plith eu hun, na thorrwn hi, ond bwriwn goel-brennau, eiddo pwy fydd hi: er cyflawni 'r scrythur, yr hon sydd yn dywedyd, Hwy a rannasant fy-nillad yn eu mysc, ac am fy-mhais y bwriasant

goel-

goelbrennau. A'r milwyr a wnaethant hyn. Ac yr oedd yn sefyll wrth groes yr Iesu ei fam ef, a chwaer ei fam, Mair gwraig Cleopas, a Mair Fagdalen. A Phan welodd Iesu ei fam, a'r discybl yr hwn a gare efe, yn sefyll ger llaw, ef a ddywedodd wrth ei fam, ô wraig, wele dy fâb. Yna dywedodd wrth y discybl, wele dy fam. Ac o'r awr honno y cymmerodd y discybl hi i'w gartref. Yn ôl hynny, yr Iesu yn gŵybod ddibennu pob peth weithian, er cyflawni yr scrythur ef a ddywedodd, y mae syched arnaf. Ac yr oedd yno lestr wedi ei osod yn llawn o finegr, a hwy a lanwasant yspwrn a finegr, ac a'i dodasant ynghylch Isop, ac a'i dodasant wrth ei enau ef. Ac wedi i'r Iesu gymmeryd y finegr, ef a ddywedodd, Gorphennwyd, a chan ogwyddo ei ben ef a roddes i fynu yr yspryd. Ar Iddewon, rhag arhos o'r cyrph ar y groes dros y Sabboth, oblegid mai y darparwyl ydoedd hi (canys mawr oedd y dydd Sabboth hwnnw) a ddeisyfasant ar Pilatus gael torri eu hesceiriau hwynt, a'u tynnu i lawr. Yna 'r milwyr a ddaethant, ac a dorrasant esceiriau 'r cyntaf, a'r llall yr hwn a grogesid gŷd ag ef. Eithr pan ddaethant at yr Iesu, a'i weled wedi marw eusys, ni thorrasant ei esceiriau ef. Ond vn o'r milwyr â gwayw-ffon a wanodd ei ystlys ef, ac yn y man daeth allan waed, a dwfr. A'r hwn a'i gwelodd a dystiolaethodd, a gwîr yw ei dystiolaeth ef, ac ef a ŵyr ei fod yn dywedyd gwîr, fel y credoch chwithau. Canys y pethau hyn a wnaethpwyd fel y cyflawnid yr scrythur, Ni ddryllir ascwrn o honaw ef. A thrachefn scrythur arall sydd yn dywedyd, Hwy a edrychasant ar yr hwn a wanâsant. Ac yn ôl hyn, Ioseph o Arimathêa (yr hwn oedd ddiscybl ir Iesu, eithr yn ddirgel rhag ofn

ofn yr Iddewon ) a ddeisyfodd ar Pilatus gael tynnu i lawr gorph yr Iesu: a Philatus a gennadhaodd iddo. Yntef a ddaeth, ac a gymmerth gorph yr Iesu. A daeth Nicodemus hefyd yr hwn yn gyntaf a ddaethe at yr Iesu liw nôs, ac a ddûg Myrr, ac Aloes ynghymmysc, ynghylch can pwys. Yna cymmerasant gorph yr Iesu, ac a'i rhwymasant mewn llieiniau gŷd ag aroglau, fel y mae arfer yr Iddewon i gladdu. Ac yn y fangre lle y croes-hoeliasid ef yr oedd gardd, a bedd newydd yn yr ardd, yn yr hwn ni ddodasid nêb erioed. Yno gan hynny oblegid darpar-ŵyl yr Iddewon, (am fod y bêdd yn agos) y dodasant yr Iesu.

## Nôs Bâsc.
## Yr Epistol.



Gwell ydyw ( os ewyllys Duw a'i myn) ddyoddef o honoch yn gwneuthur da- 1.Pet. 3.17.
ioni, nag yn gwneuthur drygioni. Gan i Ghrist hefyd un-waith ddyoddef tros bechodau, y cyfiawn tros yr anghyfiawn, fel y galle ein dwyn ni at Dduw, yr hwn hefyd a laddwyd yn y cnawd, eithr a fywhawyd yn yr Yspryd. Yn yr hwn Yspryd yr aeth efe ac a bregethodd i'r ysprydion yngharchar, y rhai oeddynt gynt yn anufyddion, pan un-waith yr oedd hir ymmynedd Duw yn disgwil yn-nyddiau Noe, pan ddarperid yr Arch: yn yr hon, ychydigion, sef wyth enaid, a achubwyd trwy y dwfr. I'r hwn y mae 'r siampl yr hwn sydd yn awr yn ein hachub ninnau, sef y bedydd, yn atteb ( nid trwy 'r hwn y tynnir ymaith fudreddi 'r cnawd, eithr trwy 'r hwn y gwnâ cydwybod dda ymofyn â Duw ) trwy adgyfodedigaeth Iesu Ghrist, yr hwn sydd ar ddehenlaw Dduw, wedi myned i'r nêf, a'r angelion, a'r

awdurdodau, a'r galluoedd wedi eu darostwng iddo.

Yr Efengyl.

Math.27.57.  Edi ei myned hi yn hwyr fe ddaeth dyn goludog o Arimathea, a'i henw Joseph, yr hwn a fuase yntef yn ddiscybl i'r Iesu. Hwn a aeth at Pilatus, ac a ofynnodd gorph yr Iesu: yna y gorchymynnodd Pilatus roddi'r corph. A chymmerth Ioseph y corph, ac a'i hamdoes á lliain main glân, ac a'i dodes yn ei fedd newydd yr hwn a dorrase efe mewn craig, ac a dreiglodd faen mawr wrth ddrŵs y bêdd, ac a aeth ymmaith. Ac yr oedd yno Mair Magdalen, a Mair arall yn eistedd gyferbyn â'r bêdd. A thrannoeth yr hwn sydd ar ôl y darpar-wyl, yr ymgynhullodd yr archoffeiriaid, a'r Phariseaid at Pilatus, gan ddywedyd, ô Arglwydd, y mae'n gôf gennim ddywedyd o'r twyllwr hwnnw ac efe etto yn fyw, o fewn tridiau y cyfodaf. Gorchymmyn gan hynny gadw'r bêdd yn ddiogel hyd y trydydd dŷdd, rhag dyfod o'i ddiscyblon ef o hŷd nôs a'i ladratta ef, a dywedyd wrth y bobl, ef a gyfododd o feirw; a bôd yr amryfusedd diweddaf yn waeth nâ'r cyntaf. A dywedodd Pilatus wrthynt, y mae gennych wiliadwriaeth, ewch, gwnewch mor ddiogel ac y medrwch. Ac hwy a aethant, ac a wnaethant y bêdd yn ddiogel â'r wiliadwriaeth, ac a seliasant y maen.

Dydd Pâsc.

¶ Ar Foreuol weddi yn lle y Psalm, Deuwch, canwn i'r Arg. &c. y cenir, neu y dywedir yr Anthemau hyn.

Crist yn cyfodi o feirw, yr awr-hon ni bydd marw: ac nid arglwyddiaetha angau arno ef mwyach. Canys fel y bu efe farw, efe a fu farw un-waith i dynnu ymmaith bechod, ac fel y mae yn fyw, byw

y mae

y mae i Dduw. Felly meddyliwch chwithau hefyd eich meirw i bechod, ach bod yn fyw i Dduw, yng-Hrist Jesu ein Harglwydd.

CRist a gyfododd o'r meirw, ac a wnaed yn flaen-ffrwyth y rhai a hunasant. O herwydd gan fod mar wolaeth trwy ddŷn, trwy ddŷn hefyd y mae ad-gyfodiad y meirw. O blegit, megis yn Adda y mae pawb yn meirw, felly yng Hrist y bywheir pawb.

## Y Colect.

HOll-alluog Dduw yr hwn drwy dy un Mâb Jesu Grist, a orchfygaist angeu, ac a agoraist i ni borth y bywyd tragywyddol; yn ufydd yr attolygwn iti, megis (drwy dy râd espesawl yn ein hachub) ydd wyt yn peri dyseifiadau da i'n meddyliau: felly trwy dy ddyfal gymmorth, allu o honom eu dwyn i berffeithrwydd cyflawn, trwy Jesu Grist ein Harglwydd, yr hwn sydd yn byw, ac yn teyrnasu yn oes oesoedd. Amen.

## Yr Epistol.



OS chwi a gyd-gyfodasoch gŷd â Christ, ceisiwch y pethau oddi uchod, lle y mae Christ yn eistedd ar ddeheu-law Duw. Rhoddwch eich bryd ar y pethau uchod, ac nid ar y pethau sydd ar y ddaear. Canys meirw ydych, a'ch bywyd a guddiwyd gŷd â Christ yn-Nuw. Pan ymddangoso Christ yr hwn yw'n bywyd, yna hefyd yr ymddangoswch chwithau gŷd ag ef mewn gogoniant. Marwhewch gan hynny eich aelodau y rhai sydd ar y ddaear, godineb, aflendid, gwŷn, dryg-chwant, a chybydd-dod yr hon sydd yn gauddu wiaeth: o achos yr hyn bethau y mae digofaint Duw yn dyfod ar blant yr anufydd-dod. Ym-mha rai y rhodiasoch chwithau gynt, pan oeddych yn byw ynddynt. Coloss.3.1.

## Yr Efengyl.

Ioan.20.1.



Y Dŷdd cyntaf o'r wythnos Mair Fagdalen a ddaeth yn forẽu a hi etto yn dywyll, at y bêdd, ac a weles y maen wedi ei dreiglo oddiar y bedd. Yna y rhedodd hi ac a ddaeth at Simon Petr, ac at y discybl arall yr hwn yr oedd yr Iesu yn ei garu, ac a ddywedodd wrthynt, hwy a ddygasant yr Arglwydd ymmaith o'r bêdd, ac ni ŵyddom ni pa le y dodasant ef. Yna Petr a aeth allan, a'r discybl arall, a hwy a ddaethant at y bêdd. Ac a redasant ill dau ar vn-waith, a'r discybl arall a redodd o'r blaen yn gynt nâ Phetr, ac a ddaeth yn gyntaf at y bêdd. Ac ef a grymmodd, ac a ganfu y lliainiau wedi eu gosod: er hyny nid aeth efe i mewn. Yna daeth Simon Petr gã ei ganlyn ef, ac a aeth i mewn i'r bêdd, ac a ganfu y lliainiau wedi eu gosod yno, a'r napcyn yr hwn oedd am ei ben ef, heb ei osod gŷd a'r lliainiau, ond o'r nailltu wedi ei blygu mewn lle arall. Yna 'r aeth y discybl arall i mewn hefyd, yr hwn a ddaethe yn gyntaf at y bêdd, ac a welodd, ac a gredodd. Canys hyd yn hyn ni ŵyddent yr scrythur, y bydde raid iddo adgyfodi oddiwrth y meirw. A'r discyblon a aethant drachefn adref.

## Dydd Llûn Pâsc.

## Y Colect.

HOll-alluog Dduw yr hwn drwy dy vn Mâb Iesu Grist a orchfygaist angau, ac a agoraist i ni borth y bywyd tragywyddol: yn vfydd yr attolygwn i ti, megis (drwy dy rad espysol yn ein hachub) ydd wyt yn peri dyseifiadau da i'n meddyliau, felly trwy dy ddyfal gymmorth allu o honom eu dwyn i ben da, trwy Iesu Grist ein Arglwydd, &c. Amen.

## Yr Epistol.

PEtr a agorodd ei enau, ac a ddywedodd, Acts.10.34. Yn wîr yr wyf yn deall nad yw Duw yn derbyn wyneb nêb. Eithr ym-mhob cenhedlaeth y nêb a'i hofno ef, ac a wnelo gyfiawnder sydd gymmeradwy ganddo ef. Yr hwn ymadrodd a ddanfonodd Duw i feibion Israel, gan bregethu tangnheddyf trwy Iesu Grist yr hwn sydd Arglwydd pawb oll. Chwychwi a ŵyddoch y peth a fu yn holl Iudea, gan ddechreu yn Galilea, wedi y bedydd a bregethodd Ioan: y modd y darfu i Dduw enneinio Iesu o Nazareth â'r Yspryd glân, ac â nerth, yr hwn a gerddodd o amgylch, gan wneuthur gweithredoedd da, ac iachau pawb o'r oeddynt wedi eu dwyn tan feddiant diafol: canys Duw oedd gŷd ag ef. Ac yr ydym ni yn dystion o'r pethau oll a wnaeth efe yngwlâd yr Iddewon, ac yn Ierusalem, yr hwn a laddasant wedi iddynt ei grogi ar bren. Hwnnw a gyfododd Duw y trydydd dydd, ac a'i rhoddes i fôd yn amlwg. Nid i'r bobl oll, eithr i'r tystion etholedig o'r blaen gan Dduw, sef i ni y rhai a fwytasom, ac a yfasom gŷd ag ef, wedi ei adgyfodi oddiwrth y meirw. Ac ef a orchymynnodd i ni bregethu i'r bobl, a dwyn tystiolaeth mai efe yw hwn a ordeiniwyd gan Dduw yn farnwr byw a meirw. Gŷd a hwn y mae'r holl brophwydi yn tystiolaethu, y derbyn pawb a gredo ynddo ef faddeuant pechodau trwy ei enw ef.

## Yr Efengyl.

WEle, dau o honynt oeddynt yn myned Luc.24.13. y dydd hwnnw i dref a'i henw Emmaus, yr hon oedd dri-ugain stâd oddiwrth Ierusalem. Ac yr oeddynt hwy yn ymddiddan â'i gilydd am yr holl bethau hyn a ddigwyddasent. A bu fel yr oeddynt yn

ymddiddan, ac yn ymofyn a'i gilydd, yr Iesu yntef a nessaodd, ac aeth gyd â hwynt. Eithr eu llygaid hwynt a attaliwyd fel na's adwaenent ef. Ac ef a ddywedodd wrthynt, pa ryw ymadroddion yw y rhai hyn sydd gennwch wrth ei gilydd dan rodio? a phaham yr ydych yn drist? A'r naill, yr hwn yr oedd ei enw Cleopas a attebodd, ac a ddywedodd wrtho, a ydwyt ti yn unig yn ymdeithudd yn Jerusalem, ac ni wyddost y pethau a ddarfu yn y dyddiau hyn ynddi hi? Ac ef a ddywedodd wrthynt, pa bethau? hwythau a ddywedasant wrtho: yr hyn a wnaethpwyd i'r Iesu o Nazareth, yr hwn oedd wr a oedd brophwyd galluog mewn gweithred, a gair, gar bron Duw a'r holl bobl. A'r modd y traddodes yr arch-offeiriaid, a'n llywodraeth-wyr ni ef i'w gondemno i angeu, ac a'i croes-hoeliasant ef. Ond yr oeddym ni yn gobeithio mai efe oedd yr hwn a warede 'r Israel: ac heb law hyn oll heddyw yw 'r trydydd dydd er pan wnaethpwyd y pethau hyn. A hefyd rhai gwragedd o'n plith ni a'n dychrynasant ni, y rhai a ddaethant yn foreu at y bedd. A phan na chawsant ei gorph ef, hwynthwy a ddaethant, gan ddywedyd weled o honynt weledigaeth o angelion, y rhai a ddywedant ei fod ef yn fyw. A rhai o'r rhai oedd gyd â ny-ni a aethant at y bêdd, ac a gawsant felly fel y dywedase 'r gwragedd, ond ni welsant ef. Yntef a ddywedodd wrthynt, ô ynfydion, a hwyr-frydig o galon i gredu 'r holl bethau a ddywedodd y prophwydi. Ond oedd raid i Grist ddyoddef y pethau hyn a myned i'w ogoniant? A chan ddechreu ar Moses, a'r holl brophwydi ef a agorodd iddynt yn yr holl scrythyrau y pethau oeddynt scrifennedig am dano ef. Ac yr oeddynt yn nessau i'r drêf i'r hon ydd oeddynt yn myned: ac yntef a gymmerth arno ei fôd yn myned

ym-mhe-

ym-mhellach. Ac hwy a'i cymmhellasant ef, gan ddywedyd, arhos gyd â ni, canys y mae hi yn hwyrhau, a'r dydd sydd yn darfod. Ac efe a aeth i mewn i arhos gyd â hwynt. A darfu, ac efe yn eistedd i fwyta gyd ag hwynt ef a gymmerth fara ac a'i bendigodd, ac a'i torres, ac a'i rhoddes iddynt. Yna 'r egorwyd eu llygaid hwynt, ac hwy a'i hadnabuant ef: ac ef a ddifannodd allan o'u golwg hwynt. A hwy a ddywedasant wrth ei gilydd, onid oedd ein calonnau ni yn llosci ynom tra ydoedd efe yn ymddiddan â ny-ni ar y ffordd? a thra ydoedd efe yn agoryd i ni 'r scrythyrau? A hwy a godasant yn yr awr honno, ac a ddychwelasant i Jerusalem, ac a gawsant yr un ar ddêg wedi ymgasclu yngh ŷd, a'r sawl oedd gyd â hwynt: y rhai oeddynt yn dywedyd, yr Arglwydd a gyfododd yn wîr, ac a ymddangosodd i Simon. Hwythau a fynegasant y pethau a wnaethesid ar y ffordd, a pha fodd yr adnabuant ef wrth dorriad y bara.

Dydd mawrth Pâsc.

Y Colect.

HOll-alluog Dâd yr hwn a roddaist dy un Mâb i farw dros ein pechodau, ac i gyfodi trachefn dros ein iawnhâd: Caniadhâ i ni felly fwrw ymmaith sur-does drygioni ac anwiredd, fel y gallom yn wastad dy wasanaethu ym-mhurdeb buchedd a gwirionedd, trwy Jesu Grist ein Harglwydd. Amen.

Yr Epistol.

HA-wyr frodyr, plant cenhedlaeth Abraham, a'r rhai yn eich plith sydd yn ofni Duw, i chwi y danfonwyd gair yr iechydwriaeth hyn. Oblegid preswyl-wyr Jerusalem, a'u tywysogion heb adnabod hwn, na llefērydd y pro- Acts. 13.26.

 phwydi

phwydi y rhai a ddarllenid bôb Sabboth, a'u cyflawnasant gan farnu hwn. Ac heb gael ynddo ddim achos angeu, a ddymunasant ar Pilatus ei ladd ef. Ac wedi iddynt gwblhau pob peth o'r a scrifennasid am dano ef, descynnasant ef oddiar y pren, a dodasant ef mewn monwent. (Eithr Duw a'i cyfododd ef oddiwrth y meirw.) Yr hwn a welwyd lawer dydd gan y rhai a ddaethe i fynu gŷd ag ef o Galilea i Jerusalem, y rhai ydynt ei dystion ef wrth y bobl. A nyni ydym yn pregethu i chwi yr addewid a wnaed i'r tadau, ddarfod i Dduw ei gyflawni i'w plant hwy, sef nyni, gan iddo adgyfodi Jesu: megis hefyd yr scrifennwyd yn yr ail Psalm, Fy Mâb i ydwyt ti, my-fi heddyw a'th genhedlais di. Ac am iddo ei gyfodi ef o'r meirw nid i ddychwelyd mwy i lygredigaeth, ef a ddywedodd fel hyn, Dodaf i chwi sanctaidd ddisigl [ drugareddau ] Dafydd. Ac am hynny y mae yn dywedyd mewn lle arall, Ni adewi i'th Sanct weled llygredigaeth. Canys Dafydd, wedi iddo wasanaethu ei oes trwy ewyllys Duw, a hunodd, ac a ddodwyd at ei dadau, ac a welodd lygredigaeth: eithr yr hwn a gyfodes Duw ni welodd lygredigaeth. Am hynny bydded hyspys i chwi, ha-wyr frodyr, mai trwy hwnnw yr ydys yn pregethu i chwi faddeuant am bechodau. A thrwy hwn y cyfiawnheir pob vn o'r sydd yn credu oddiwrth y pethau oll y rhai ni's gallent gael eu cyfiawni trwy gyfraith Moses. Gwiliwch am hynny rhag dyfod arnoch y peth a ddywedir yn y prophwydi, Edrychwch ô ddirmyg-wyr, a rhyfeddwch, a diflennwch ymaith: canys yr wyf yn gwneuthur gweithred yn eich dyddiau, gwaith ni's credwch er i neb ei ddangos i chwi.

Yr Efengyl.


R Jesu a safodd ynghanol ei ddiscyblō, Luc.24.36.
ac a ddywedodd wrthynt, Tangnhe-
ddyf i chwi. Hwythau wedi brawy-
chu, ac ofni a dybiasant weled o ho-
nynt yspryd. Dywedodd yntef wrthynt,
pa ham y'ch trallodir? pa ham y mae trawsfeddyli-
au yn codi yn eich colonnau? Edrychwch fy nwy-
ylo a'm traed, mai my-fi fy hun ydyw: teimlwch fi a
gwelwch; canys nid oes i yspryd gnawd, ac escyrn,
fel y gwelwch fôd i mi. Ac wedi iddo ddywedyd
hyn, ef a ddangosodd iddynt ei ddwylo, a'i draed.
A thra 'r oeddynt hwy etto heb gredu gan lawe-
nydd, ac yn rhyfeddu, ef a ddywedodd wrthynt
hwy: a oes gennych ymma ddim bwyd? A hwy a
roesant iddo ef ddarn o byscodyn wedi ei rostio, ac
o ddîl mêl. Yntef a'i cymmerodd, ac a'i bwytaodd
yn eu gŵydd hwynt. Ac ef a ddywedodd wrthynt:
y rhai hyn yw'r geiriau a ddywedais i wrthych
chwi, pan oeddwn etto gŷda â chwi, bôd yn rhaid cy-
flawni pôb peth sydd yn scrifennedig am danaf yng-
hyfraith Moses, a'r prophwydi, a'r Psalmau. Yna
efe a egorodd eu dyall hwynt, fel y dyallent yr scry-
thyrau. Ac ef a ddywedodd wrthynt, felly y mae yn
scrifennedig, ac felly yr oedd raid i Grist ddyoddef,
a chyfodi o feirw y trydydd dŷdd: a phregethu edi-
feirwch a maddeuant pechodau yn ei enw ef ym-
mhlith y cenhedloedd oll, gan ddechreu yn Jeru-
salem. Ac yr ydych chwi yn dystion o'r pethau hyn.

Y Sûl cyntaf gwedi'r Pasc.

Y Colect.

OLl-alluog Dduw &c. Megis ar y Cymmun Ddydd Pâsc.

Yr

## Yr Epistol.

1.Ioan. 5.4. Mae oll o'r a aned o Dduw yn gorchfygu'r bŷd, a hon yw 'r oruchafiaeth yr hon sydd yn gorchfygu y bŷd, sef ein ffydd ni. Pwy sydd yn gorchfygu 'r bŷd, onid yr hwn sydd yn credu mai Iesu yw Mâb Duw? Hwn yw 'r Iesu Ghrist a ddaeth trwy ddwfr a gwaed, nid trwy ddwfr yn unig, onid trwy ddwfr a gwaed: a'r Yspryd yw 'r hwn sydd yn testiolaethu: canys yr Yspryd sydd wirionedd. Canys y mae tri yn tystiolaethu yn y nef, y Tâd, y Gair, a'r Yspryd glân: a'r tri hyn un ydynt. Ac y mae tri yn tystiolaethu ar y ddaiar, yr Yspryd, a'r dwfr, a'r gwaed: a 'r tri hyn yn un y maent yn cytuno. Os tystiolaeth dynion a dderbyniwn, y mae tystiolaeth Duw yn fwy: canys hyn yw tystiolaeth Duw, yr hon a dystiolaethodd efe am ei Fâb. Yr hwn sydd yn credu ym Mâb Duw y mae iddo y dystiolaeth ynddo ei hun: hwn nid yw yn credu i Dduw, a'i gwnaeth ef yn gelwyddog, gan na chredodd y dystiolaeth yr hon a dystiolaethodd Duw am ei Fâb. A hon yw 'r dystiolaeth, roddi o Dduw i ni fywyd tragywyddol: a'r bywyd hwn sydd yn ei Fab ef. Yr hwn y mae y Mâb ganddo, y mae y bywyd ganddo: a'r hwn nid yw ganddo Fâb Duw, nid oes ganddo fywyd.

## Yr Efengyl.

Ioa.20.19. Na pan aeth hi yn hwyr y dŷdd cyntaf hwnnw o'r wythnos, a'r drysau yn gaead, lle yr oedd y discyblion wedi ymgasclu ynghŷd, rhag ofn yr Iddewon, yr Iesu a ddaeth, ac a safodd yn y canol, ac a ddywedodd wrthynt, Tangnheddyf i chwi. Ac wedi iddo ddywedyd hyn, ef

a ddangosodd iddynt ei ddwylaw, a'i ystlys: yna y llawenychodd y discyblion wrth weled yr Arglwydd. Yna dywedodd yr Iesu wrthynt drachefn. Tangneddyf i chwi: megis y danfonodd fy-Mhâd fi, felly yr ydwyf finne yn eich anfon chwi. Ac wedi iddo ddywedyd hyn ef a anadlodd arnynt, ac a ddywedodd wrthynt, Cymmerwch yr Yspryd glân: Pwy bynnag y maddeuoch eu pechodau, maddeuwyd iddynt: yr eiddo pwy bynnag a attalioch, hwy a attaliwyd.

## Yr ail Sûl yn ôl y Pâsc.

### Y Colect.

HOll-alluog Dduw, yr hwn a roddaist dy un Mâb i ni yn aberth, tros bechod, a hefyd yn esampl o fuchedd dduwiol, dyro i ni dy râs, fel y gallom byth fod yn ddiolchgar dros ei anhraethawl lesâd ef; a hefyd i ni beunydd ymroi i ganlyn bendigedig lwybrau ei wir lanaf fuched ef, Amen.

### Yr Epistol.

HYn sydd rasol, os o herwydd cydwybod i Dduw y bydd i neb ddwyn cystudd, gan ddyoddef yn ddiachos. Oblegid pa glôd yw er bôd yn dda eich ammynedd pan gernodier chwi am eich beiau? eithr os pan wneloch dda er hynny y byddwch dda eich ammynedd yn goddef, hyn sydd rasol gar bron Duw. Canys i hyn y galwyd chwi: oblegid Christ hefyd a ddyoddefodd trosom ni, gan adel i ni siampl, fel y gallech chwi ganlyn ei ôl ef. Yr hwn ni wnaeth bechod, ac ni chaed twyll yn ei enau. Yr hwn pan ddifenwyd ni ddifenwodd eilwaith: pan ddyoddefodd, ni fygythiodd, eithr rhoddodd ar y neb sydd yn barnu yn gyfiawn. Yr hwn ei hun a ddûg ein pechodau ni yn ei gorph ar y pren, fel

1.Pet.2.19.

fel y gallem ni wedi ein gwared oddiwrth bechod, fyw i gyfiawnder, trwy gleisiau yr hwn yr iachawyd chwi. Canys yr oeddych megis defaid yn myned ar gyfeiliorn, eithr yn awr chwi a droesoch at fugail, ac Escob eich eneidiau.

Yr Efengyl.



Ioan.10.11. Hrist a ddywedodd wrth ei ddiscyblon, My-fi yw 'r bugail da: y bugail da a rydd ei einioes tros ei ddefaid. Eithr y gwâs-cyflog, a'r hwn nid yw fugail, yr hwn nid eiddo y defaid, sydd yn gweled y blaidd yn dyfod, ac yn gadel y defaid, ac yn cilio: a'r blaidd sydd yn sclyfio, ac yn tarfu y defaid. Ac y mae 'r gwâs-cyflog yn ffoi, am ei fod yn wâs-cyflog, ac heb ofal ganddo am y defaid. My-fi yw 'r bugail da, ac mi a adwen y mau fi, ac a'm hadwaenir gan y mau fi. Fel yr edwyn y Tâd fy-fi, yr adwen inne 'r Tâd: ac yr wyf fi yn dodi fy einioes tros fy nefaid. Y mae gennif fi ddefaid eraill, y rhai nid ynt o'r gorlan hon: rhaid i mi areilio y rhai hynny, a hwy a wrandawant fy llais: ac fe fydd un gorlan, ac un bugail.

## Y Trydydd Sûl yn ôl y Pâsc.

Y Colect.

HOll-alluog Dduw, yr hwn wyt yn dangos i bawb sy ar gyfeiliorn lewyrch dy wirionedd, er eu dwyn i ffordd cyfiawnder: Caniadhâ i bawb a dderbynner i gymdeithas crefydd Grist, allu o honynt ymogel cyfryw bethau ac y sydd wrthwyneb i'w profess, a chanlyn y sawl bethau oll a fyddo yn cydtuno â'r un-rhyw, trwy ein Harglwydd Iesu Grist. Amen.

### Yr Epiſtol.



Fy anwylyd, yr wyf yn attolwg i chwi megis dieithriaid, a phererinion, ym-gedwch oddiwrth drachwantau'r cnawd, y rhai sy yn rhyfela yn erbyn yr enaid. A bydded eich ymwreddiad yn honest ym-mysc y cenhedloedd, fel y gallo y rhai sy yn eich goganu fel pe byddech ddrwg-weithredwyr, o herwydd eich gweithredoedd da a welant, foliannu Duw yn nŷdd yr ymweliad. Ymddarostyngwch oblegid hyn i bob dynol ordinhâd er mwyn yr Arglwydd, pa vn bynnag ai i'r brenhin fel i'r goruchaf, ai i'r llywiawdwyr fel i'r rhai a ddanfonir ganddo ef, er dialedd i'r rhai drwg, ac er mawl i'r rhai sy yn gwneuthur da. Canys felly y mae ewyllys Duw, fel y galloch trwy wneuthur yn dda ostegu anwybodaeth dynion ffolion. Megis yn rhyddion, ac nid fel rhai yn cymmeryd rhyddid yn lle cochl malis, eithr fel gwasanaethwyr Duw. Perchwch bawb: cerwch gymdeithas brawdol: ofnwch Dduw: anrhydeddwch y brenhin.

1.Pet.2.11.

### Yr Efangyl.



YR Iesu a ddywedodd wrth ei ddiscyblon, Ychydig ennyd, ac ni'm gwelwch, a thrachefn ychydig ennyd, a chwi a'm gwelwch: am fy môd yn myned at y Tâd. Am hynny rhai o'i ddiscyblon a ddywedasant wrth ei gilydd: beth yw hyn y mae efe yn ei ddywedyd wrthym, Ychydig ennyd, ac ni'm gwelwch, a trachefn ychydig ennyd, a chwi a'm gwelwch, ac, Am fy môd yn myned at y Tâd? Am hynny hwy a ddywedasant, beth ydyw hyn y mae efe yn ei ddywedyd, Ychydig ennyd? Ni ŵyddom ni beth y mae efe yn ei ddywedyd. A gwybu'r Iesu eu bôd hwy yn ewyllysio gofyn iddo, ac a ddywedodd wrthynt,

Ioan.16.16.

wrthynt, ai ymofyn yr ydych â'i gilydd am ddywe-
dyd o honof hyn, Ychydig ennyd, ac ni'm gwelwch, a
thrachefn ychydig ennyd, a chwi a'm gwelwch, Yn
wir, yn wir, meddaf i chwi, chwi a wylwch, ac a
alerwch, a'r byd a lawenycha: eithr chwi a fyddwch
dristion, ond eich tristwch a droir yn llawenydd.
Gwraig wrth escor a fydd mewn tristyd, am ddyfod
ei hawr, eithr wedi geni iddi y plentyn, ni chofia
ei gofid mwyach, gan lawenydd geni dyn i'r byd.
Chwithau hefyd ydych mewn tristwch yn awr, ei-
thr mi a ymwelaf â chwi drachefn, a'ch calon a lawe-
nycha, a'ch llawenydd ni ddwg neb oddiarnoch.

## Y pedwerydd Sûl yn ôl y Pâsc.

### Y Colect.

HOll-gyfoethog Dduw, yr hwn wyt yn gwneu-
thur meddyliau yr holl ffyddloniaid i fod o un e-
wyllys: Caniadhâ i'th bobl, fod i ddynt garu yr hyn a
orchymynni, a deisyfu yr hyn a addewi, fel ym-mhl-
lith amrafael ddamwaeniau y byd, allu cael o'n ca-
lonnau gwbl aros yn y lle y mae gwir lawenydd i'w
gaffael, trwy Grist ein Harglwydd. Amen.

### Yr Epistol.

Iac. 1. 17.



POb dawn daionus, a phob rhodd ber-
ffaith oddi uchod y mae, yn descyn oddi-
wrth Dâd y goleuni, gyd â'r hwn nid
oes trasymudigaeth, na chyscodiad tro-
edigaeth. O'i wir ewyllys y cenhedlodd
efe nyni trwy air y gwirionedd, fel y gallem fôd me-
gis blaen-ffrwyth ei greaduriaid ef. O achos hyn fy
mrodyr anwyl, bydded pob dyn escud i wrando, diog
i lefaru, a diog i ddigofaint. Canys digofaint gŵr nid
yw yn cyflawni cyfiawnder Duw. Am hynny rho-
ddwch heibio bob budreddi, ac amldra malis, a
thrwy

thrwy larÿeidd dra derbyniwch yr impiedig air, yr hwn a ddichon gadw eich eneidiau.

Yr Efengyl.

YR Jesu a ddywedodd wrth ei ddiscyblon: yn awr yr wyf yn myned at yr hwn a'm hanfonodd, ac nid yw neb o honoch yn gofyn i mi, i ba le yr ai di: Eithr am i mi ddywedyd hyn wrthych, tristwch a lanwodd eich calon. Ond yr wyf fi yn dywedyd y gwirionedd i chwi: buddiol yw i chwi fy myned i ymmaith. Canys onid âf fi ymmaith, ni ddaw y diddanudd attoch: eithr os mi a âf, mi a'i hanfonaf ef attoch. A phan ddêl, ef a argyoedda'r bŷd o bechod, ac o gyfiawnder, ac o farn. O bechod, am nad ydynt yn credu ynofi. O gyfiawnder, am fy môd yn myned at y Tâd, ac nim gwelwch i mwyach. O farn, am ddarfod barnu tywysog y bŷd hwn. Y mae gennif etto lawer o bethau i'w dywedyd wrthych, ond yn awr ni ellwch eu dwyn. Ond pan ddêl efe, sef Yspryd y gwirionedd, efe a'ch tywys chwi i bob gwirionedd: canys ni lefara ef o honaw ei hun, ond pa bethau bynnag a glywo ef a lefara, ac a fynega i chwi y pethau sydd i ddyfod. Efe a'm gogonedda i, canys efe a gymmer o'r eiddof, ac a'i mynega i chwi. Y pethau oll sy yn eiddo'r Tâd, ydynt eiddof fi: am hynny y dywedais y cymmer o'r eiddof, ac a'i mynega i chwi. Ioan.16.5.

Y Pumed Sûl yn ôl y Pâsc.

Y Colect.

ARglwydd oddi-wrth ba un y daw'r holl ddaioni, caniadhâ i ni dy ufydd weision, trwy dy sanctaidd

ysprydoliaeth feddwl o honom y pethau a fo uniō, a thrwy dy ymgeleddus dywysogaeth eu gwneuthur yn ddibennus, trwy ein Harglwydd Iesu Grist. Amen.

Yr Epistol.

Iac.1.22. 
Byddwch wneuthur-wyr y gair, ac nid gwrandawyr yn unig, gan eich twyllo eich hunain. Canys o gwrandy neb y gair, ac heb ei wneuthur, tebyg yw hwnnw i ŵr yn edrych ei wyneb-pryd naturiol mewn drŷch. Canys ystyriodd ef ei hun ac aeth ymmaith, ac yn y man anghofiodd pa fut ydoedd. Eithr y neb a edrycho ar yr hon sydd berffaith gyfraith rhydd-did, ac a erys ynddi, hwn am nad ydyw wrandawr anghofus, eithr gwneuthurwr y weithred, happus fydd yn ei weithred. Os tybir bôd neb yn eich mŷsc yn grefyddol, yr hwn nid attalio ei dafod, eithr sydd yn twyllo ei galon ei hun, crefydd hwnnw ofer yw. Crefydd pûr a dihalogedig ger bron Duw a'r Tâd yw hyn, ymweled â'r ymddifaid a'r gwragedd gweddwon yn eu hadfyd, ac ymgadw yn ddifrycheulyd oddiwrth y bŷd.

Yr Efengyl.

Ioan.16.23. 
Yn wir, yn wir meddaf i chwi, pa bethau bynnag a ofynnoch i'm Tâd yn fy enw i, efe a'u rhydd i chwi. Ni ofynnasoch ddim hyd hyn yn fy enw i: gofynnwch, a chwi a gewch, fel y byddo eich llawenydd yn gyflawn. Y pethau hyn a draethais wrthych mewn damhegion, ond y mae'r awr yn dyfod pan na adroddwyf mewn damhegion wrthych, eithr y mynegwyf yn eglur i chwi am y Tâd. Y dŷdd hwnnw y gofynnwch yn fy enw, ac nid

wyf

wyf yn dywedyd i chwi y gweddiaf fi ar y Tâd tros-
soch. Canys y Tâd ei hun a'ch câr chwi, am i chwi
fyngharu i, a chredu fy nyfod i allan oddiwrth
Dduw: Daethym allan oddiwrth y Tâd, a daeth-
ym i'r bŷd: trachefn yr wyf yn gadel y bŷd, ac yn my-
ned at y Tâd. Ei ddiscyblon a ddywedasant wrtho,
wele, yn awr yr wyt yn llefaru yn eglur, ac nid yd-
wyt yn dywedyd vn ddammeg. Yn awr y gŵyddom
y gŵyddost bob peth, ac nad rhaid i t'ymofyn o neb
â thi. Trwy hyn y credwn ddyfod o honot oddiwrth
Dduw. A'r Iesu a'u hattebodd hwynt, a ydych'wi
yn credu yn awr. Wele y mae r awr yn dyfod, ac hi
a ddaeth eusus, pan y'ch gwascerir bawb at yr
eiddo, ac y gadewch fi yn vnig: ac nid wyf yn vnig,
am fôd y Tâd gŷd â mi. Y pethau hyn a ddywedais
wrthych, fel y caffech dangnheddyf ynof: gorthrym-
der a gewch yn y bŷd: eithr cymmerwch gysur, my-fi
â orchfygais y bŷd.

## Dydd Iou Dyrchafael.

### Y Colect.

CAniadhâ ni a attolygwn i'th orucheldeb Holl-
alluog Dduw, megis ac ydd ŷm ni yn credu dar-
fod i'th vn Mâb ein Harglwydd dderchafel i'r ne-
foedd: felly bod i ninnau â meddyl-fryd ein calon
allu ymdderchafel yno, a chyd ag ef drigo yn wa-
stadol.

### Yr Epistol.

MI a wnaethym y traethawd cyntaf, ô Act.1.1.
Theophilus, am yr holl bethau y rhai
a ddechreuodd yr Iesu eu gwneuthur,
a'u dyscu, hyd y dydd y dyrchafwyd ef i
fynu, wedi iddo trwy'r Yspryd glân ro-
ddi gorchymmyn i'r Apostolion y rhai a etholase efe.
I'r rhai wedi iddo ef ddyoddef yr ymddangosodd efe

yn fyw trwy lawer o arwyddion siccr, gan fôd yn weledig iddynt tros ddeu'gain nhiwrnod, ac yn dywedyd ynghylch pethau o deyrnas Dduw. Ac wedi iddo eu cynnull hwynt ynghŷd efe a orchymynnodd iddynt nad elent ymmaith o Jerusalem, eithr disgwil am addewid y Tâd, yr hwn, eb efe, a glywsoch gennif fi. Canys Joan yn ddiau a fedyddiodd â dwfr, ond chwi a fedyddir â'r Yspryd glân cyn nemawr o ddyddiau. Am hynny wedi dyfod o honynt ynghŷd, gofynnasant iddo gan ddywedyd, Arglwydd, a i'r pryd hyn y rhoddi drachefn y frenhiniaeth i Israel? Ac efe a ddywedodd wrthynt, ni pherthyn i chwi wybod yr amseroedd na'r prydiau y rhai a osodes y Tâd yn ei feddiant ei hun. Eithr chwi a dderbyniwch rinwedd yr Yspryd glân, wedi y delo efe arnoch: a chwi a fyddwch dystion i mi yn Jerusalem, ac yn holl Judea, a Samaria, ac hyd eithaf y ddaiar. Ac wedi iddo ddywedyd hyn, a hwynt-hwy yn edrych, cyfodwyd ef i fynu, ac wybren a'i cymmerodd ef i fynu o'u golwg hwy. Ac fel yr oeddynt yn tremmu yn graff tu â'r nef, ac efe yn myned, wele, dau wr a safasant gar llaw iddynt mewn gwisc wenn. Y rhai hefyd a ddywedasant, chwi wŷr o Galilea, pa ham y sefwch yn edrych tu â'r nef? yr Jesu hwn yr hwn a gymmerwyd i fynu oddiwrthych i'r nef, a ddaw yr vn modd ac y gwelsoch ef yn myned i'r nef.

## Yr Efengyl.

Mar. 16. 14.



R Jesu a ymddangosodd i'r vn ar ddeg a hwynt yn cyd-eistedd, ac a ddannododd iddynt eu hanghredyniaeth, a'u calon-galedwch, am na chredent y rhai a'i gwelsent ef wedi adgyfodi. Ac ef a ddywedodd wrthynt, Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr Efengyl i bob creadur. Y neb a gredo, ac a fedyddier, fydd cadwedig, eithr y neb ni chredo

chredo a gondemnir. A'r arwyddion hyn a ganlyn-
ant y rhai a gredant, yn fy enw i y bwriant allan
gythreuliaid, y llefarant â thafodau newyddion.
Seirph a godant hwy ymmaith, ac os yfant ddim
anghefol ni wna iddynt niwed, dodant eu dwylo ar
gleifion, a hwy a fyddant iâch. Felly wedi darfod i'r
Arglwydd lefaru wrthynt, cymmerwyd ef i fynu i'r
nef, ac ef a eisteddodd ar ddeheu-law Duw. A hwynt
a aethant allan, ac a bregethasant ym-mhob man,
a'r Arglwydd yn cyd-weithio, ac yn cadarnhau y
gair trwy arwyddion y rhai oeddynt yn canlyn.

## Y Sûl yn ôl y Dyrchafael.

### Y Colect.

O Dduw, frenin y gogoniant, yr hwn a dderchef-
aist dy un Mâb Iesu Grist â mawr oruchafiaeth
i'th deyrnas yn y nefoedd: Atolwg i ti na âd ni yn
anniddan, eithr danfon i ni dy Yspryd glân i'n didd-
anu, a dercha ni i'r un fan lle yr aeth ein Iachawdwr
Crist o'r blaen; yr hwn a fywocâ, ac a deyrnasa yn oes
oesoedd.

### Yr Epistol.

Diwedd pob peth sydd yn agos: am hy- 1. Pet 4. 7.
nny byddwch sobr, a gwiliadwrus i
weddio. Ym-mlaen pob peth bydded
cariad twymn yn eich plith: canys ca-
riad a guddia liaws o bechodau. Bydd-
wch letteugar i'w gilydd yn ddi-rwgnach. Pob un
megis ac y cafodd rodd, gweinwch hynny i'w gilydd,
fel daionus orchwylwyr amryw râs Duw. Os
dywed neb, dyweded megis geiriau Duw, os gweini
a wnâ neb, gwnaed hynny megis o'r gallu y mae
Duw yn ei roddi, fel y gogonedder Duw ymmhob
peth trwy Iesu Ghrist, i'r hwn y mae'r gogoniant,
a'r arglwyddiaeth yn oes oesoedd. Amen.

Yr Efengyl.

Io.15.26. PAn ddel y diddanudd yr hwn a anfonaf fi i chwi oddiwrth y Tâd, sef Yspryd y gwirionedd yr hwn a ddeillia oddiwrth y Tâd, hwnnw a dystiolaetha am danaf fi. Chwithau hefyd a dystiolaethwch, am eich bod o'r dechreuad gyd â mi. Y pethau hyn a ddywedais i chwi, rhag eich rhwystro chwi. Hwy a'ch bwriant chwi allan o'u synagogau, ie, y mae'r amser yn dyfod, y tybia pwy bynnac a'ch lladdo, ei fod yn gwneuthur gwasanaeth i Dduw. A'r pethau hyn a wnânt i chwi, am nad adnabuant y Tâd, na myfi. Eithr y pethau hyn a ddywedais wrthych, fel pan ddêl yr awr y cofioch hwynt, ddarfod i mi ddywedyd i chwi.

Y Sûl-gwyn.

Y Colect.

DUw, yr hwn ar gyfenw i heddyw a ddyscaist galonnau dy ffyddlonion, gan anfon iddynt lewyrch dy lân Yspryd: Caniadhâ i nyni trwy yr vnrhyw Yspryd, ddeall yr iawn farn ym-mhob peth, a byth lawenychu yn ei wynfydedic ddiddanwch ef, trwy ryglyddau Jesu Grist ein Jachawdur, yr hwn a fywocâ, ac a deyrnasa gyd â thi yng-hyfundeb yr vn-rhyw Yspryd, yn vn Duw heb drangc na gorphen. Amen.

Yr Epistol.

Act.2.1. 

Wedi dyfod dŷdd y Pentecost, yr oeddynt hwy oll yn gytun yn yr vn-lle. Ac yn ddisymmwth daeth sŵn o'r nef, fel gŵth gwynt yn rhuthro, ac a lanwodd yr holl dŷ lle 'r oeddynt yn eistedd. A thafodau gwahanedig a ymddangosasant iddynt fel tân, ac efe a eisteddodd ar bob vn o honynt. A hwy a gyflawnwyd oll â'r Yspryd glân, ac a ddechreuasant lefaru â thafodau eraill, megis y rhoddes yr Yspryd

iddynt

soddynt lefaru. Ac yr oedd yn trigo yn Jerusalem Idd-
ewon o wŷr bucheddol, o bob cenedl o'r rhai ydynt
tan y nef. Ac wedi myned y gair o hyn, daeth y lliaws
ynghŷd, ac a synnodd arnynt, oblegid bod pob vn yn
eu clywed hwy yn llefaru yn ei dafod-iaith ei hun.
Synnodd hefyd ar bawb, a rhyfeddu a wnaethant,
gan ddywedyd wrth ei gilydd, wele, onid yw y rhai
hyn oll sy yn llefaru o Galilea? A pha wedd yr ydym
ni yn eu clywed hwynt pob vn yn ein tafodiaeth ein
hunain yn yr hon y'n ganed ni? Parthiaid, a Medi-
aid, ac Elamidiaid, a thrigolion Mesopotamia, ac
Judea, a Chappadocia, Pontus, ac Asia: Phrygia
hefyd, a Phamphilia, yr Aipht, a rhannau Lybia, yr
hon sydd gar llaw Cyrene, a dieithriaid o Rufeinwyr,
Iddewon, a phroselytiaid, Cretiaid, ac Arabiaid, yr
ydym ni yn eu clywed hwynt yn traethu mawrion
weithredoedd Duw yn ein tafod-iaith ein hun.

Yr Efengyl.



R Jesu a ddywedodd wrth ei ddiscy- Io.14.15.
blon, O cherwch fi, cedwch fyngorch-
ymynion. A mi a weddiaf ar y Tâd, ac
efe a rydd i chwi ddiddanudd arall, i ar-
hos gŷd â chwi yn dragywyddol: Yspryd
y gwirionedd yr hwn ni ddichon y bŷd
ei dderbyn, am nad yw yn ei weled, nac yn ei adna-
bod ef. Ond chwi a'i adwaenoch ef, o herwydd y mae
yn arhos gŷd â chwi, ac ynoch y bydd efe. Ni's gad-
awaf chwi yn ymddifaid, mi a ddeuaf attoch chwi.
Etto ennyd bach, a'r bŷd ni'm gwêl mwyach: eithr
chwi a'm gwelwch: canys byw wyf fi, a byw fydd-
wch chwithau. Y dŷdd hwnnw y gŵybyddwch fy
môd i yn fy Nhâd, a chwi ynof fi, a minne ynoch chwi.
Y neb sydd a'm gorchymynion i ganddo, ac yn eu ca-
dw hwynt, efe yw'r hwn sydd yn fy-ngharu i: a'r
sawl sydd yn fy-ngharu i, a gerir gan fy-Nhâd i, a

minne a'i carafef, ac a'm heglurafy hun iddo ef. Dywedodd Judas wrtho, (nid yr Iscariot) Arglwydd, pa beth yw'r achos yr egluri dy hun i ni, ac nid i'r bŷd? Yr Iesu a attebodd, ac a ddywedodd wrtho: os câr neb fi, ef a geidw fy-ngair, a'm Tâd a'i câr yntef: a ny ni a ddeuwn atto, ac arhoswn gŷd ag ef. Y neb ni'm câr i, ni cheidw mo'm geiriau: a'r gair a glywsoch, nid eiddof fi ydyw, ond eiddo'r Tâd yr hwn a'm hanfonodd i. Hyn a ddywedais wrthych â mi yn arhos gŷd â chwi. Eithr y diddanudd, sef yr Yspryd glân, yr hwn a enfyn y Tâd yn fy enw i, hwnnw a ddŷsc i chwi bob peth, ac a eilw bob peth i'ch côf chwi o'r a ddywedais i wrthych. Yr wyf yn gadel i chwi Dangneddyf, fy-nhangnheddyf yr wyf yn ei roddi i chwi: nid fel y mae'r bŷd yn rhoddi, yr wyf fi yn rhoddi i chwi. Na thralloder eich calon, ac nac ofned. Clywsoch fel y dywedais wrthych: yr wyf yn myned ymaith, ac mi a ddeuaf attoch. Pe carech fi, llawenhaech am i mi ddywedyd, yr wyf yn myned at y Tâd: canys y mae fy-Nhâd yn fwy nâ my-fi. Ac yr awr hon dywedais i chwi cyn ei ddyfod, fel y credoch pan ddelo. Yn ôl hyn ni ddywedaf nemawr wrthych: canys tywysog y bŷd hwn sydd yn dyfod, ac nid oes iddo ddim ynof fi. Ond fel y gwypo'r bŷd fy môd i yn caru'r Tâd, ac megis y gorchymynnodd y Tad i mi, felly yr wyf yn gwneuthur.

Dydd Llun y Sul-gwyn.

Y Colect.

Duw yr hwn, &c. Megis ar ddydd y Sul-gwyn.

Yr Epistol.

Act.10.34.



Petr a agorodd ei enau, ac a ddywedodd, yn wîr yr wyf yn deall nad yw Duw yn derbyn wyneb neb. Eithr ymmhob cenhedlaeth y neb a'i hofno ef, ac a wnelo gyfiawnder, sydd gymmeradwy

eradwy gandddo ef. Yr hwn ymadrodd a ddanfonodd Duw i feibion Israel, gan bregethu tangnheddyf trwy Iesu Ghrist, yr hwn sydd Arglwydd pawb oll. Chwy-chwi a wyddoch y peth a fu yn holl Iudea, gan ddechreu yn Galilea, wedi y bedydd a bregethodd Ioan: y modd y darfu i Dduw enneinio Iesu o Nazareth â 'r Yspryd glân, ac â nerth, yr hwn a gerddodd o amgylch, gan wneuthur gweithredoedd da, ac iachâu pawb o'r oeddynt wedi eu dwyn tan feddiant diafol: canys Duw oedd gyd ag ef. Ac yr ydym ni yn dystion o'r pethau oll a wnaeth efe yngwlâd yr Iddewon, ac yn Ierusalem, yr hwn a laddasant wedi iddynt ei grogi ar bren. Hwnnw a gyfododd Duw y trydydd dydd, ac a'i rhoddes i fod yn amlwg. Nid i'r bobl oll, eithr i'r tystion etholedig o'r blaen gan Dduw, sef i ni y rhai a fwytasom, ac a yfasom gyd ag ef, wedi ei adgyfodi oddiwrth y meirw. Ac ef a orchymynnodd i ni bregethu i'r bobl, a dwyn tystiolaeth mai efe yw 'r hwn a ordeiniwyd gan Dduw yn farn-wr byw a meirw. Gyd â hwn y mae 'r holl brophwydi yn tystiolaethu, y derbyn pob vn a gredo ynddo ef faddeuant pechodau trwy ei enw ef. Tra oedd Petr etto yn dywedyd y geiriau hyn, discynnodd yr Yspryd glân ar bawb a glywsant y gair. A'r rhai o 'r enwaediad a oeddynt yn credu, cynnifer ac a ddaethent gyd â Phetr, a synnodd arnynt, am dywallt dawn yr Yspryd glân ar y cenhedloedd hefyd. Canys hwy a'u clywsent hwynt yn ymadrodd â thafodau, ac yn mawrygu Duw. Yna'r attebodd Petr, a all neb luddio dwfr, fel na fedyddier y rhai hyn, y rhai a dderbyniasant yr Yspryd glân fel ninnau? Ac efe a orchymynnodd eu bedyddio hwynt yn enw 'r Arglwydd. Yna deisyfasant arno arhos tros ennyd o ddyddiau.

Yr Efengyl.

Io 3.16. 
Elly y carodd Duw y bŷd, fel y rhoddodd ei unig-anedig Fâb, fel na choller neb o'r sydd yn credu ynddo ef, eithr cassael o honaw fywyd tragywyddol. Oblegid ni ddanfonodd Duw ei Fâb i'r bŷd i ddamno 'r bŷd, eithr fel y bydde y byd gadwedig trwyddo ef. Yr hwn a grêd ynddo ef ni ddemnir, ond yr hwn nid yw yn credu a ddamnwyd eusys, am na chredodd yn enw unig-anedig Fâb Duw. A hon yw 'r ddamnedigaeth, ddyfod goleuni i'r bŷd, a charu o ddynion y tywyllwch yn fwy nâ 'r goleuni, o herwydd yr oedd eu gweithredoedd hwy yn ddrwg. O herwydd pob un o'r sydd yn gwneuthur drwg, sydd yn casâu y goleuni, ac ni ddaw i'r goleuni, rhag argyoeddi ei weithredoedd. Ond yr hwn sydd yn gwneuthur gwirionedd, a ddaw i'r goleuni, fel yr eglurhaer ei weithredoedd ef, mai yn-Nuw y gwnaed hwynt.

Dydd Mawrth y Sûlgwyn.

Y Colect.

Duw yr hwn, &c. Megis ar ddydd y Sulgwyn.

Yr Epistol.

Act.8.14. 
An glybu 'r Apostolion y rhai oeddynt yn Jerusalem dderbyn o Samaria air Duw, hwy a anfonasant attynt Petr ac Joan. Y rhai wedi iddynt ddyfod i wared a weddiasant trostynt, ar dderbyn o honynt yr Yspryd glân. Oblegid ni ddaethe efe etto i lawr ar yr un o honynt, ond hwy a fedyddiasid yn unig yn enw'r Arglwydd Jesu. Yna dodasant eu dwylaw arnynt, ac hwy a dderbyniasant yr Yspryd glân.

Yr

## Yr Efengyl.

YN wir, yn wir, meddaf i chwi, yr Io.10.1.
hwn nid yw yn myned i mewn drwy-
y'r drŵs i gorlan y defaid, eithr sydd
yn dringo ffordd arall, lleidr, ac yspei-
ludd yw efe. Ond yr hwn sydd yn my-
ned i mewn drwy'r drŵs yw bugail
y defaid. I hwn y mae'r dryssor yn agoryd, ac y mae'r
defaid yn gwrando ar ei lais ef, ac y mae ef yn galw
ei ddefaid ei hun erbyn eu henw, ac yn eu harwain
hwy allan. Ac wedi iddo yrru allan ei ddefaid ei hun,
y mae efe yn myned o'u blaen hwynt, a'r defaid a'i
canlynant ef, am eu bôd yn adnabod ei lais ef. A dŷn
dieithr ni's canlynant, eithr ciliant oddiwrtho, am
nad adwaenant lais dieithriaid. Y ddammeg hon
a ddywedodd yr Iesu wrthynt, ond hwy ni ŵybuant
pa bethau oedd y rhai a ddywedase efe wrthynt. Yna
y dywedodd yr Iesu wrthynt drachefn, yn wir, yn
wir, meddaf i chwi, my-fi yw drŵs y defaid. Cynni-
fer oll ac a ddaethant o'm blaen i, lladron ac yspeil-
ŵyr ŷnt: eithr ni wrandawodd y defaid arnynt. My-
fi yw'r drŵs: os aiff neb i mewn drwof fi, ef a fydd
cadwedig, ac ef a aiff i mewn, ac a aiff allan, ac a
gaiff borfa. Nid yw'r lleidr yn dyfod ond i ladratta,
ac i lâdd, ac i ddistrywio: my-fi a ddaethym er mwyn
cael o honynt fywyd, a'i gael o honynt yn helaethach.

## Sûl y Drindod.

### Y Colect.

HOll-alluog a thragywyddol Dduw, yr hwn a roddaist i ni dy weision râd, gan gyffessu ac addef dy wîr ffydd, i adnabod gogoniant y dragywyddol Drindod, ac yn nerth y dwywiol Fawredd i addoli yr

vndod: Nyni a attolygwn i ti, fod i ni trwy gadernid y ffydd hon, gael ein hamddeffyn oddi-wrth bob gwrthwyneb, yr hwn wyt yn byw, ac yn teyrnasu, yn vn Duw byth heb ddiwedd. Amen.

Yr Epistol.

Gwel.4.1 

Gwedi hyn mi a edrychais, ac wele, yr ydoedd drŵs yn agored yn y nef, a'r llais cyntaf a glywais oedd fel llais vdcorn yn chwedleua â mi, gan ddywedyd, dring i fynu ymma, a mi a ddangosaf i ti y pethau a orfydd eu gwneuthur wedi hyn. Ac yn y man yr oeddwn yn yr yspryd, ac wele, fe a ddodwyd gorsedd-faingc yn y nef, ac eisteddodd vn ar yr orsedd-faingc. A'r hwn a eisteddodd oedd i'w weled yn debyg i faen Jaspis, a Sardon, ac enfys oedd o amgylch yr orsedd-faingc, yn debyg yr olwg arni i Smaragdus. Ac ynghylch yr orsedd-faingc yr oedd pedair gorsedd-faingc ar hugain, ac mi a welwn ar y gorsedd-feingciau bedwar ar hugain o henuriaid yn eistedd, a dillad gwynion am danynt, a choronau o aur oedd ganddynt ar eu pennau. A mêllt, a tharanau, a lleisiau a ddaethant allan o'r orsedd-faingc, a saith ffagl o dân oeddynt yn llosci ger bron yr orsedd-faingc, y rhai ydynt saith Yspryd Duw. Ac o flaen yr orsedd-faingc yr ydoedd môr o wydr, yn debyg i faen Crystal, ac ynghanol yr orsedd-faingc, ac ynghylch yr orseddfaingc yr oedd pedwar anifail yn llawn o lygaid, ym-mlaen, ac yn ôl. A'r anifail cyntaf oedd debyg i lew, a'r ail anifail yn debyg i lo, a'r trydydd anifail oedd ag wyneb ganddo fel dyn, a'r pedwerydd anifail oedd yn debyg i eryr yn ehedeg. Ac yr oedd i bob vn o'r pedwar anifail chwech o adenydd o amgylch iddynt, ac yr

oeddynt

oeddynt yn llawn llygaid o'r tu fewn, ac nid oeddynt
yn gorphywys ddŷdd na nôs, gan ddywedyd, Sanct,
Sanct, Sanct, Arglwydd Dduw holl-alluog, yr
hwn a fu, ac y sydd, ac yw ar ddyfod. A phan ro-
ddodd yr anifeiliaid hynny ogoniant, ac anrhydedd,
a diolch i'r hwn oedd yn eistedd ar yr orsedd-faingc,
yr hwn sydd yn byw yn oes oesoedd: y pedwar henu-
riad ar hugain a syrthiasant gar bron yr hwn oedd
yn eistedd ar yr orsedd-faingc, ac a addolasant yr
hwn sydd yn byw yn dragywydd, ac a fwriasant eu
coronau gar bron yr orsedd-faingc, gan ddywedyd,
Teilwng wyt, ô Arglwydd, i dderbyn gogoniant, ac
anrhydedd, a gallu, canys ti a greaist bob peth, ac
er mwyn dy ewyllys di y maent, ac y crewyd hwynt.

## Yr Efengyl.



R oedd dŷn o'r Pharisæaid, a'i Io.3.1.
enw Nicodemns, pennaeth yr I-
ddewon. Hwn a ddaeth at yr Ie-
su liw nôs, ac a ddywedodd wr-
tho, Rabbi, ni a ŵyddom mai dys-
cawdur wyt ti wedi dyfod oddi-
wrth Dduw: canys ni all neb
wneuthur y gwyrthiau hyn y
rhai yr ydwyt ti yn eu gwneuthur, oni bai fod Duw
gŷd ag ef. Yr Iesu a attebodd, ac a ddywedodd wr-
tho ef, yn wîr, yn wîr, meddaf i ti, oddieithr geni
dŷn drachefn, ni ddichon efe weled teyrnas Dduw.
Nicodemus a ddywedodd wrtho ef, pa fodd y dichon
dŷn ei eni ac ef yn hên? a ddichon efe fyned i groth ei
fam eilwaith a'i eni? Yr Iesu a attebodd, yn wir,
yn wir, meddaf i ti, oddieithr geni dŷn o ddwfr,
a'r Yspryd, ni ddichon ef fyned i mewn i deyrnas
Dduw. Yr hyn a aned o'r cnawd, sydd gnawd, a'r
hyn

hyn a aned o'r Yspryd, sydd yspryd. Na ryfedda di ddywedyd o honof wrthit, Rhaid yw eich geni chwi drachefn. Y mae y gwynt yn chwythu lle y mynno, a thi a glywi ei sŵn ef, ond ni ŵyddost o bale y mae yn dyfod, nac i ba le yr aiff: felly y mae pawb a'r a aned o'r Yspryd. Nicodemus a attebodd, ac a ddywedodd wrtho, pa fôdd y dichon y pethau hyn fôd? Yr Jesu a attebodd, ac a ddywedodd wrtho, a wyt ti yn ddyscawdur yn Israel, ac ni ŵyddost y pethau hyn? Yn wir, yn wir, meddaf i ti, mai'r hyn a ŵyddom yr ydym yn ei ddywedyd, a'r hyn a welsom yr ydym yn ei dystiolaethu, ac nid ydych yn derbyn ein tystiolaeth ni. Os dywedais i chwi bethau daearol, a chwithau nid ydych yn credu, pa fodd y credech pe dywedwn i chwi bethau nefol? Ac ni escynnodd neb i'r nef, o ddieithr yr hwn a ddescynnodd o'r nef, sef Mâb y dŷn, yr hwn sydd yn y nef. Ac megis y dyrchafodd Moses y sarph yn y diffaethwch felly y mai rhaid dyrchafu Mâb y dŷn, fel na choller pwy bynnag a gredo ynddo ef, onid caffael o honaw fywyd tragywyddol.

## Y Sûl cyntaf gwedi 'r Drindod.

### Y Coleꝺ.

Duw yr hwn wyt wir nerth pawb oll y sy yn ymddyried ynot, yn drugarog derbyn ein gweddiau: A chan na ddichon gwendid ein marwol anian wneuthur dim da hebot ti, Caniadhâ i ni gymmorth dy râd, fel y bo i ni gan gadw dy orchymynnion, ryngu bodd i ti ar ewyllys a gweithred: trwy Jesu Grist ein Harglwydd.

## Yr Epistol.


Anwylyd, carwn ei gilydd: canys ca- 1.Ioan.4.7.
riad o Dduw y mae, a phob vn a gâr, o
Dduw y ganed ef, ac efe a edwyn
Dduw. Yr hwn ni châr, nid edwyn
Dduw: canys cariad yw Duw. Yn
hyn y mae cariad Duw yn ymddangos arnom ni,
gan i Dduw ddanfon ei vnig genhedledig Fâb i'r
bŷd, fel y byddom fyw trwyddo ef. Yn hyn y mae ca-
riad, nid am i ni garu Duw, eithr am iddo ef yn ca-
ru ni, ac anfon ei Fâb i fod yn iawn tros ein pecho-
dau. Oh anwylyd, os felly y carodd Duw ni, nin-
nau a ddylem garu ei gilydd. Ni welodd neb Dduw
erioed: os carwn ni ei gilydd y mae Duw yn trigo
ynom, ac y mae ei gariad yn berffaith ynom. Wrth
hyn y gŵyddom ein bod yn trigo ynddo ef, ac yntef
ynom ninnau: gan ddarfod iddo roddi i ni o'i Yspryd
ef. A ninnau a welsom, ac a dystiolaethwn ddar-
fod i'r Tâd ddanfon y Mâb yn Iachawdr i'r bŷd.
Pwy bynnag a gyffesso fod Iesu yn Fâb Duw, yn-
ddo ef y mae Duw yn trigo, ac yntef yn Nuw. A
ny-ni a adnabuom, ac a gredasom y cariad yr hwn
sydd gan Dduw arnom: Duw cariad yw, a'r hwn
sydd yn arhos ynghariad sydd yn arhos yn-Nuw,
a Duw ynddo yntef. Yn hyn y cwplheir y cariad
ynom, fel y byddo i ni hyder ddŷdd farn: canys fel
y mae efe, felly yr ydym ninnau yn y bŷd hwn. Nid
oes ofn ynghariad, eithr y mae perffaith gariad yn
bwrw allan ofn: oblegid y mae i ofn boenediga-
eth: a'r hwn a ofna, nid yw berffaith mewn cariad.
Yr ydym ni yn ei garu ef am iddo ef ein caru ni yn
gyntaf. Os dywed neb yr wyf yn caru Duw, ac
yntef yn cashâu ei frawd, celwyddog yw: canys
pa fodd y gall efe yr hwn nid yw yn caru ei frawd

a we-

a welodd, garu Duw yr hwn ni welodd. A'r gorchymmyn hwn sydd i ni ganddo ef, bôd i'r hwn a garo Dduw, garu ei frawd hefyd.

Yr Efengyl.

Luc.16.19. 
R oedd rhyw ddŷn goludog, ac ef a wiscid á phorphor, a lliain-main, ac oedd yn cymmeryd ei fŷd yn ddainteithol, ac yn fwythus beunydd. Yr oedd hefyd ryw gardotdyn a'i enw Lazarus, yr hwn a fwrid wrth ei borth ef yn gornwydlyd, ac yn chwennychu cael ei borthi â'r briwsion, y rhai a syrthie o ddiar fwrdd y goludog: ond y cŵn a ddaethant ac a lyfasant ei gornwydydd ef. A bu i'r cardotdyn farw, ac ef a dducpwyd gan yr Angelion i fynwes Abraham: a'r goludog a fu farw hefyd, ac a gladdwyd. Ac efe yn bôd yn uffern mewn poenau, wrth godi ei olwg a ganfu Abraham o hir-bell, a Lazarus yn ei fynwes. Ac efe a lefodd, ac a ddywedodd, ô Dâd Abraham, trugarha wrthif a danfon Lazarus i drochi pen ei fŷs mewn dwfr, ac i oeri fy-nhafod: canys fe a'm poenir yn y fflam hon. Ac Abraham a ddywedodd, ha fâb, cofia i ti dderbyn dy wynfyd yn dy fywyd, ac felly Lazarus ei adfyd: ac yn awr diddenir ef, a phoenir dithe. Ac heb law hyn oll, siccrhawyd gagendorr fawr rhyngom ni a chwi, fel na allo y rhai a fynnent dramwy oddi ymma attoch chwi, ac nad ŷw y rhai a fynnent ddyfod oddi yna yn tramwy attom ni. Yntef a ddywedodd, yr wyf yn attolwg i ti, dâd, ddanfon o honot ef i dŷ fy-nhâd: canys y mae i mi bump o frodyr; fel y tystiolaetho iddynt hwy, rhag dyfod o honynt hwythau i'r lle poenus hwn. Abraham a ddywedodd wrtho, y mae ganddynt Moses,

ses, a'r prophwydi, gwrandawant arnynt hwy. Yntef a ddywedodd, nag e, y tâd Abraham, eithr os aiff vn oddiwrth y meirw attynt, hwy a edifarhânt. Ac Abraham a ddywedodd wrtho: oni wrandawant ar Moses, a'r prophwydi, ni chredent chwaith pe code vn oddiwrth y meirw.

## Yr ail Sûl gwedi'r Drindod.

### Y Colect.

ARglwydd par di fod arnom wastadol ofn a chariad dy sanctaidd Enw, canys byth ni phelli gymmorth a llywiaw y sawl a feithrinych yn-nwyster dy gariad: Caniadhâ hyn er cariad ar dy vn Mâb Iesu Grist ein Harglwydd.

### Yr Epistol.



NA ryfeddwch, fy-mrodyr, er casháu 1.Io.3.13.
o'r bŷd chwi. Ny-ni a ŵyddom ddarfod ein symmudo o farwolaeth i fywyd, gan ein bôd yn caru y brodyr: yr hwn ni charo ei frawd sydd yn arhos ym marwolaeth. Pwy bynnag a gasháo ei frawd, lleiddiad dŷn yw: a gwyddoch nad oes i vn lleiddiad dŷn fywyd tragywyddol yn arhos ynddo. Yn hyn yr adnabuom gariad Duw, gan iddo ef ddodi ei einioes drosom ni, a ninnau a ddylem ddodi ein heinioes tros ein brodyr. A phwy-bynnag sydd ganddo olud y bŷd hwn, ac a wêl ei frawd mewn eisiau, ac a gaea ei dosturi oddiwrtho, pa fodd y mae cariad Duw yn arhos ynddo. fy-mhlant bychain, na charwn ar air, nac ar dafod yn vnig, eithr mewn gweithred a gwirionedd. Ac wrth hyn y gwyddom ein bôd o'r gwirionedd, ac y bydd i ni gar ei fron ef ddiogelu ein calonnau. Os ein calon a'n condemna, mwy yw Duw nâ'n calon, ac efe a ŵyr bob peth. Oh rai anwyl, os ein calon

ni'n condemna, y mae i ni hyder ar Dduw. A pha beth bynnag a ofynnom, ny-ni a'i derbyniwn ganddo, gan i ni gadw ei orchymynion, a gwneuthur y pethau sy fodlon yn ei olwg ef. Hwn gan hynny yw ei orchymmyn ef, fôd i ni gredu yn enw ei Fâb Iesu Ghrist, a charu ei gilydd, fel y rhoes efe orchymmyn i ni. Canys yr hwn a geidw ei orchymynion ef, a drig ynddo ef, ac efe a drig ynddo yntef: ac wrth hyn y gwyddom ei fod ef yn arhos ynom, sef o'r Yspryd yr hwn a roddes efe i ni.

## Yr Efengyl.

Luc.14.16. 

RHyw ddŷn a wnaeth swpper mawr, ac a wahoddodd lawer. Ac a ddanfonodd ei was brŷd swpper, i ddywedyd wrth y rhai a wahoddasid, dewch, canys weithian y mae pob peth yn barod. A hwynt oll ar unwaith a ddechreuasant ymescusodi: y cyntaf a ddywedodd wrtho, mi a brynais dyddyn, ac y mae yn rhaid i mi fyned allan a'i weled, attolwg i ti cymmer fi yn escusodol. Ac arall a ddywedodd, mi a brynais bum iau o ychen, ac yr ydwyf i yn myned i'w profi hwynt, attolwg i ti cymmer fi yn escusodol. Ac arall a ddywedodd, mi a briodais wraig, ac am hynny ni allaf fi ddyfod. A'r gwâs hwnnw pan ddaeth adref a fynegodd y pethau hyn i'w arglwydd. Yna gŵr y tŷ yn ddigllon a ddywedodd wrth ei wâs: dôs allan ar frŷs i'r heolydd, ac ystrydoedd y ddinas, a dŵg i mewn ymma y tlodion, a'r anafus, a'r cloffion, a'r deillion. A'r gwâs a ddywedodd, arglwydd, fe a ddarfu gwneuthyd fel y gorchymynnaist, ac etto y mae lle. A'r arglwydd a ddywedodd wrth y gwâs, dôs allan i'r priffyrdd, a'r

caeau, a chymmell hwynt i ddyfod i mewn, fel y llanwer fy-nhŷ. Canys yr wyf yn dywedyd i chwi na chaiff yr vn o'r gwŷr hynny a wahoddwyd brofi o'm swpper i.

Y trydydd Sûl gwedi 'r Drindod.

Y Colect.

ARglwydd ni a attolygwn i ti yn drugarog ein gwrando, a megis y rhoddaist i ni feddyl-fryd calon i weddio, caniadhâ drwy dy fawr nerth i ni gael ein hamddeffyn rhag-llaw, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

Yr Epistol.



YMostyngwch bawb i'w gilydd, ac ymdrwsiwch oddi fewn â gostyngeiddrwydd meddwl, canys Duw a wrthladd y beilchion, ac a rŷdd râs i'r rhai gostyngedig. Ymostyngwch o achos hyn tan alluog law Dduw, fel y gallo eich dyrchafu pan ddêl yr amser. Bwriwch gwbl o'ch gofal arno ef: canys y mae efe yn gofalu trosoch. Byddwch sobr, a gwiliwch, canys eich gwrthwyneb-wr diafol sydd megis llew rhuadwy yn rhodio oddiamgylch, gan geisio pwy a allo ei lyngcu. Yr hwn gwrthwynebwch yn gadarn yn y ffŷdd, gan wybod fod yn cyflawni yr vnrhyw ddyoddefaint yn eich brodyr, y rhai ydynt yn y bŷd. A Duw awdur pob grâs, yr hwn a'n galwodd ni i'w dragywyddol ogoniant trwy Iesu Ghrist, wedi i chwi oddef ychydig, a'ch perffeithio, a'ch cadarnhao, a'ch cryfhao, ac a'ch siccrhao. Iddo ef y byddo gogoniant, ac ymmerodraeth yn oes oesoedd. Amen. 1.Pet.5.5.

## Yr Efengyl.

Luc.15.1.



AC yr oedd yr holl Publicanod, a'r pechaduriaid yn dyfod atto ef i wrando arno. A'r Phariseaid, a'r scrifennyddion a rwgnachasant, gan ddywedyd, y mae hwn yn derbyn pechaduriaid, ac yn bwyta gyd â hwynt. Yntef a adroddodd y ddammeg hon wrthynt, gan ddywedyd, Pa ddŷn o honoch a chanddo gant o ddefaid, ac os cyll efe vn o honynt, ni âd yr amyn vn pum vgain yn yr ynialwch, a myned ar ôl yr hon a gollodd, hyd oni chaffo efe hi? Ac wedi iddo ei chael, ef a'i dŷd ar ei yscwyddau ei hûn, gan ymlawenychu. A phan ddêl adref, ef a eilw ynghŷd ei gyfeillon, a'i gymmydogion, gan ddywedyd wrthynt, llawenhewch gyd â mi, canys cefais fy nafad yr hon a gollase. Yr wyf yn dywedyd i chwi, mai felly y bŷdd llawenydd yn y nef am vn pechadur edifeiriol, mwy nag am onid vn pum vgain o rai cyfiawn, y rhai nid rhaid iddynt wrth edifeirwch. Neu pa wraig ac iddi ddêg o ddracmonau, os cyll hi vn dracmon, ni oleu ganwyll, ac yscubo 'r tŷ, a cheisio yn ddyfal, hyd onis caffo hi? Ac wedi iddi ei chael, hi a eilw ynghŷd ei chyfeillesau, a'i chymydogesau, gan ddywedyd, cyd-lawenhewch â mi, canys cefais fy-nracmon a gollaswn. Felly, meddaf i chwi y mae llawenydd yngŵydd angelion Duw am vn pechadur a edifarhao.

## Y pedwerydd Sûl gwedi 'r Drindod.

### Y Colect.

DUw Nawdd-wr pawb oll y sydd yn ymddyried ynot, heb pa vn nid oes dim nerthawg, na dim sanctaidd, amlhâ arnom dy drugaredd, fel y gallom (a thi yn llywiawdur ac yn dywysog i ni) dreiddio

drwy

drwy yr pethau bydol, modd na chollom rhag llaw y pethau tragywyddol: Caniadhâ hyn nefol Dad, er mwyn Iesu Grist ein Harglwydd.

Yr Epistol.



R ydwyf yn bwrw nad yw gofidiau yr amser yr awron yn cydstadlu y gogoniant a ddangosir i ni. Canys awydd-fryd y creadur sydd yn disgwil am ddatcuddiad meibion Duw. Canys y mae y creadur yn ddarostyngedig i wagedd, nid o'i fodd, eithr oblegid yr hwn a'i darostyngodd. Tan obaith y rhyddheir y creadur hefyd o gaethiwed llygredigaeth i rydd-did gogoniant meibion Duw. Canys gwyddom fôd pob creadur yn cyd-ocheneidio â ni, ac yn cyd-ofidio hyd y pryd hyn. Ac nid yn unig y creadur, ond ninnau hefyd y sawl a gawsom flaen-ffrwyth yr Yspryd, yr ydym ninnau yn ocheneidio ynom ein hunain, gan ddisgwil y mabwysiad, nid amgẽ prynedigaeth ein corph. Rom.8.18.

Yr Efengyl.



Yddwch drugarogion megis y mae eich Tâd hefyd yn drugarog. Na fernwch, ac ni'ch bernir: na chondemnwch, ac ni'ch condemnir: maddeuwch, a maddeuir i chwithau. Rhoddwch, a rhoddir i chwi: mesur da dwysedig, wedi ei ysgwyd, ac yn myned trosodd a roddant yn eich mynwes: canys â 'r un mesur ac y mesuroch, y mesurir i chwi drachefn. Ac ef a ddywedodd ddammeg wrthynt: a ddichon y dall dywyso 'r dall? oni syrthiant ill dau yn y clawdd? Nid yw'r discybl uwch law ei athro: eithr perffaith fydd pob un a fyddo fel ei athro. A pha ham y gweli di y brycheuyn y sydd yn llygad dy frawd, ac nad wyt yn ystyried y trawst y sydd yn dy lygad dy hun? Neu pa fodd y gelli ddywedyd wrth dy Luc.6.36.

 frawd,

frawd, fy mrawd, gâd i mi dynnu allan y brycheuyn y sydd yn dy lygad, a thy-di heb weled y trawst yr hwn sydd yn dy lygad dy hûn? ô ragrithiwr bwrw allan y trawst o'th lygad dy hun yn gyntaf, ac yna y gweli yn eglur dynnu allan y brycheuyn yr hwn sydd yn llygad dy frawd.

## Y pumed Sûl gwedi 'r Drindod.

### Y Colect.

Caniadhâ Arglwydd ni a attolygwn i ti, fod cwrs y byd hwn, trwy dy reoledigaeth wedi ei drefnu mor dangnefol ag y gallo dy gynnulleidfa di dy wasanaethu mewn duwiol heddwch, trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

### Yr Epistol.

1.Pet.3.8.



Byddwch bawb o'r vn meddwl, yn cyd-oddef gŷd â'i gilydd, yn caru ei gilydd fel brodyr, yn drugarogion, yn fwynaidd. Nid yn talu drŵg am ddrŵg, neu ddirmyg am ddirmyg, eithr yngwrthwyneb yn bendithio, gan wybod eich galw i hyn, fel i etifeddu o honoch y fendith. Canys y neb a ewyllysio hoffi bywyd, a gweled dyddiau da, attalied ei dafod oddi wrth ddrŵg, a'i wefusau rhag adrodd twyll. Gocheled y drŵg, a gwnaed y da: ceisied heddwch, a dylyned ef. Canys y mae llygaid yr Arglwydd ar y rhai cyfiawn, a'i glustiau tu ac at eu gweddi hwynt: ac y mae wyneb yr Arglwydd yn erbyn y rhai a wnelo ddrŵg. A phwy a'ch dryga chwi os byddwch yn dylyn yr hyn sydd dda? Eithr o bydd i chwi ddyoddef o herwydd cyfiawnder, dedwydd ydych: ond nac ofnwch rhac eu hofn hwynt, ac na thralloder chwi. Eithr sancteiddiwch yr Arglwydd Dduw yn eich calonnau.

Yr Efengyl.



Bu hefyd a 'r bobl yn pwyso atto i wrando gair Duw, yr oedd yntef yn sefyll yn ymmyl llyn Gennesareth, ac ef a wele ddwy long yn sefyll wrth y llynn, a'r pyscod-wŷr a aethent allan o honynt, ac oeddynt yn golchi eu rhwydau. Ac wedi iddo fyned i mewn i un o'r llongau, yr hon oedd eiddo Simon, ef a ddymunodd arno yrru ychydig oddiwrth y tir, ac wedi iddo eistedd ef a ddyscodd y bobl o'r llong. A phan beidiodd â llefaru ef a ddywedodd wrth Simon, gyrr i 'r dwfn a bwriwch eich rhwydau am helfa. Ac attebodd Simon, a dywedodd wrtho, ô feistr, er i ni boeni ar hŷd y nôs, ni ddaliasom ni ddim: er hynny ar dy air di mi a fwriaf y rhwyd. Ac wedi iddynt wneuthur hyn, hwynt a ddaliasant liaws mawr o byscod, a rhwygodd eu rhwyd hwynt. A hwynt a amneidiasant ar eu cyfeillion y rhai oeddynt yn y llong arall, i ddyfod i'w cynnorthwyo hwynt: ac hwynt-hwy a ddaethant, ac a lanwasant y ddwy long, onid oeddynt yn soddi. A phan welodd Simon Petr hyn, ef a syrthiodd wrth liniau 'r Iesu, gan ddywedyd, dôs ymaith oddiwrthif, canys dŷn pechadurus wyf fi, ô Arglwydd. O blegid braw a ddaethe arno, a 'r rhai oll a oeddynt gŷd ag ef o bob-parth, am yr helfa byscod a ddaliasent hwy. Ac felly hefyd ar Iaco ac Ioan meibion Zebedeus, y rhai oeddynt gyfrannogion â Simon. A dywedodd yr Iesu wrth Simon: nac ofna, o hyn allan y deli ddynion. A phan ddugasant y llongau i 'r tir, hwynt a adawsant bob peth, ac a'i dylynasant ef. Luc. 5. 1.

## Y chweched Sûl gwedi 'r Drindod.

### Y Colect.

DUw yr hwn a arlwyaist i'r rhai a'th garant gyfryw bethau daionus ag y sydd vwch-ben pob deall, tywallt i'n calonnau gyfryw serch arnat, fel y byddo i ni gan dy garu ym-mhob rhyw beth, allu mwynhau dy addewidion, y rai sy fwy rhagorol nâ dim a fedrom ni ei ddeisyf: trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

### Yr Epistol.

Rom.6.3.



ONi ŵyddoch amdanom ni oll y rhai a fedyddiwyd i Ghrist Iesu, ddarfod ein bedyddio i'w farwolaeth ef? Claddwyd ni gan hynny gŷd ag ef trwy fedydd i farwolaeth, fel megis y cyfodwyd Christ o feirw trwy ogoniant y Tâd, felly y rhodiom ninnau hefyd mewn newydd-deb buchedd. Canys os gwnaed ni yn gyd-blannhigion i gyffelybiaeth ei farwolaeth ef, felly y byddwn i gyffelybiaeth ei adgyfodiad ef, gan wybod hyn, ddarfod croes-hoelio ein hên ddŷn ni gŷd ag ef, er mwyn dirymmu corph pechod, fel rhac llaw na wasanaethom bechod. Canys y mae 'r hwn fu farw yn rhydd oddiwrth bechod. Os buom ninnau feirw gŷd â Christ, yr ydym ni yn credu y byddwn fyw hefyd gŷd ag ef. Gan wybod nad yw Christ yr hwn a gyfodwyd o feirw yn marw mwyach: nad arglwyddiaetha marwolaeth arno mwyach. Canys fel y bu efe farw, efe a fu farw vn-waith i bechod: ac fel y mae yn byw, byw y mae i Dduw. Felly meddyliwch chwithau hefyd eich bod yn feirw i bechod, a'ch bôd yn fyw i Dduw yn-Ghrist Iesu ein Harglwydd.

Yr Efangyl.



R Jesu a ddywedodd wrth ei ddis- Mat.5.20.
cyblon, Oni bŷdd eich cyfiawnder yn helaethach nâ chyfiawnder yr scrifennyddion, a'r Phariseaid, nid ewch i mewn i deyrnas nefoedd. Clywsoch ddywedyd wrth y rhai gynt, na lâdd, canys pwy bynnag a laddo, euog fydd o farn. Eithr yr ydwyf fi yn dywedyd i chwi, mai pwy bynnag a ddigio wrth ei frawd heb ystyr, a fydd euog o farn: a phwy bynnag a ddywedo wrth ei frawd, Raca, fydd euog o gyngor: a phwy bynnag a ddywedo, ô ynfyd, a fydd euog o dân vffern. Can hynny os dygi dy rôdd i'r allor, ac yno dyfod i'th gôf fod gan dy frawd ddim yn dy erbyn: gâd ti yno dy rôdd gar bron yr allor, a dôs ymmaith: yn gyntaf cymmoder di â'th frawd, ac yno tyred, ac offrwm dy rôdd. Cytuna â'th wrthwynebwr yn gyflym, tra fyddech ar y ffordd gŷd ag ef, rhac i'th wrthwynebwr dy roi di yn llaw yr ynad, ac i'r ynad dy roddi at y rhingill, a'th daflu yngharchar. Yn wir, meddaf i ti, na ddeui di allan oddi yno, hyd oni thelech y ffyrlyng eithaf.

Y Seithfed Sûl gwedi 'r Drindod.

Y Colect.

DUw yr holl nerth a'r cadernid, yr hwn wyt Awdur a rhoddwr pob daioni, planna yn ein calonnau gariad dy Enw, ychwanega ynom wir grefydd, Maetha nyni â phob daioni, ac o'th fawr drugaredd cadw ni yn yr vn-rhyw, trwy Jesu Grist ein Harglwydd.

## Yr Epistol.

Rom. 6. 19. N ôl dull dynol yr ydwyf yn dywedyd
oblegid gwendid eich cnawd chwi: ca-
nys megys y rhoddasoch eich aelo-
dau yn weision i aflendid ac anwi-
redd, i wneuthur anwiredd, felly yr
awrhon rhoddwch eich aelodau yn weision i gyfi-
awnder i sancteiddrwydd. Canys pan oeddech yn
weision pechod, yr oeddech yn rhyddion oddiwrth
gyfiawnder. Pa ffrwyth oedd i chwi y prŷd hynny
yn y cyfryw bethau y mae arnoch gywilydd o'u ple-
gid yr awr hon? Canys diwedd y pethau hynny yw
marwolaeth. Ac yr awr hon wedi eich rhyddhau
oddiwrth bechod, a'ch gwneuthur yn weision i
Dduw, y mae i chwi eich ffrwyth yn sancteiddrw-
ydd, a'r diwedd yn fywyd tragywyddol. Canys cy-
flog pechod yw marwolaeth, eithr dawn Duw yw
bywyd tragywyddol trwy Ghrist Iesu ein Harg-
lwydd.

## Yr Efengyl.

Marc. 8. 1. N y dyddiau hynny pan oedd tyrfa fawr
iawn ac heb ganddynt ddim i'w fwyt-
ta, galwodd yr Iesu ei ddiscyblon atto,
ac a ddywedodd wrthynt. Yr wyfi yn to-
sturio wrth y dyrfa, am eu bôd yn aros
gŷd â mi er ys tridiau weithian, ac nid oes gan-
ddynt ddim i'w fwytta. Ac os gollyngaf hwynt ym-
maith i'w teiau ar eu cythlwng, hwynt-hwy a le-
wygant ar y ffordd, canys llawer o honynt a ddae-
thant o bell. A'i ddiscyblon ef a'i hattebasant, o ba
le y gall neb ddigoni y rhai hyn â bara ymma yn
yr ynialwch? Ac ef a ofynnodd iddynt, pa sawl
torth sydd gennwch? A hwynt-hwy a ddywedasant,
saith. Yntef a orchymynnodd i'r dyrfa eistedd ar y
llawr,

llawr, a chan gymmeryd y saith dorth, wedi iddo roddi diolch, ef a'u torrodd hwynt, ac a'u rhoddes i'w ddiscyblon i'w gosod gar eu bronnau, a hwynt a'u gosodasant gar bron y bobl. Ac yr oedd ganddynt ychydig byscod bychain: ac wedi iddo fendigo, ef a barodd ddodi y rhai hynny hefyd ger eu bronnau hwynt. A hwynt a fwyttasant, ac a gawsant ddigon, ac hwy a godasant o'r briwfwyd gweddill saith bascedaid. A'r rhai a fwytasant oeddynt ynghylch pedair mîl, ac efe a'u gollyngodd hwynt ymmaith.

## Yr viij. Sûl gwedi 'r Drindod.

### Y Colect.

Duw, yr hwn ni thwyllir byth ei ragluniaeth, yn ufydd ni a attolygwn i ti fwrw oddi-wrthym bob peth niweidiol, a rhoddi o honot i ni bob peth a'r a fyddo da ar ein llês, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

### Yr Epistol.

Y Brodyr, yr ydym ni yn ddyled-wŷr, nid i'r cnawd, i fyw yn ôl y cnawd: canys os byw fyddwch yn ôl y cnawd meirw fyddwch: eithr os marwhewch weithredoedd y cnawd trwy 'r Yspryd, byw fyddwch. Canys cynnifer ac a dywyser gan Yspryd Duw, y rhai hyn sy blant i Dduw. Canys ni dderbyniasoch yspryd caethiwed trachefn i beri ofn, eithr derbyniasoch Yspryd mabwysiad, trwy 'r hwn yr ydym yn llefain Abba Dâd. Y mae yr Yspryd hwnnw yn cyd-tystiolaethu â'n hyspryd ni, ein bod ni yn blant i Dduw. Os ydym ni yn blant, yr ydym ni hefyd yn etifeddion, sef yn etifeddion i Dduw, ac yn gyd-etifeddion â Christ: os cyd-ddioddefwn ag ef, fel y'n cyd-ogonedder hefyd gŷd ag ef. Rom.8.12.

### Yr Efengyl.

Mat.7.15. 

Ymogelwch rhag y gau-brophwydi y rhai a ddeuant attoch yngwiscoedd defaid, o-nid oddi mewn bleiddiaid rheipus ydynt hwy: wrth eu ffrwythau yr adnabyddwch hwynt. A gascl rhai rawn-win oddiar ddrain, neu ffigus oddiar yscall? Felly pob pren da a ddŵg ffrwythau da, a phren drŵg a ddŵg ffrwythau drŵg. Ni ddichon pren da ddwyn ffrwythau drŵg, na phren drŵg ddwyn ffrwythau da. Pob pren a'r ni ddŵg ffrwyth da, a dorrir i lawr, ac a deflir i'r tân. O herwydd pa ham wrth eu ffrwythau yr adnabyddwch hwynt. Nid pwy bynnag a ddywed wrthif, Arglwydd, Arglwydd, a ddaw i mewn i deyrnas nefoedd, ond yr hwn a wnâ ewyllys fy-Nhâd yr hwn sydd yn y nefoedd.

## Y ix. Sûl gwedi'r Drindod.

### Y Colect.

CAniadhâ i ni Arglwydd, attolwg i ti, yr Yspryd i feddwl a gwneuthur byth y cyfryw bethau a fo cyfiawn, fel y byddo i ni (y rhai ni allwn fod hebot) fyw yn ôl dy ewyllys, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

### Yr Epistol.

1.Cor.10.1. 

NI fynnwn, frodyr, na's gwyddech fod ein tadau oll tan y cwmmwl, a'u myned oll trwy'r môr, a'u bedyddio hwy oll i Moses yn y cwmmwl, ac yn y môr: a bwyta o bawb o honynt yr un bwyd ysprydol, ac yfed o bawb o honynt yr un ddiod ysprydol, (canys hwy a yfasant o'r graig ysprydol a oedd yn canlyn, a'r graig oedd Christ.)

Eithr

Eithr ni bu fodlon gan Dduw y rhan fwyaf o honynt: canys cwympwyd hwynt yn y diffaethwch. A hyn a wnaed yn siampl i ni, fel na chwennychem ni ddrygioni, fel y chwennychasant hwythau. Na fyddwch chwithau addol-wyr eulynnod fel rhai o honynt hwy, megis y mae yn scrifennedig, Eisteddodd y bobl i fwyta, ac i yfed, ac a gyfodasant i chwareu. Ac na odinebwn fel y godinebodd rhai o honynt hwy, ac y syrthiodd yn un dŷdd dair mîl ar hugain. Ac na themptiwn Ghrist, megis y temptiodd rhai o honynt hwy, ac eu distrywiwyd gan seirph. Ac na rwgnechwch, megis y grwgnachodd rhai o honynt hwy, ac eu distrywiwyd gan y dinystrydd. A'r pethau hyn oll a ddigwyddasant yn siampl iddynt hwy, ac a scrifennwyd yn rhybydd i ninnau, ar ba rai y daeth terfynau yr oesoedd. Am hynny yr hwn sydd yn tybieid eifod yn sefyll, edrychet na syrthio. Nid ymaflodd ynoch demtasiwn, onid un dynol: eithr ffyddlon yw Duw yr hwn ni âd eich temptio uwch llaw yr hyn a alloch, eithr gŷd â'r temptasiwn y gwnâ efe ddiangfa, fel y galloch ei ddwyn.

## Yr Efengyl.



R Iesu a ddywedodd wrth ei ddiscyblon, Yr oedd rhyw ddŷn goludog, ac iddo orchwiliwr, ac fe a gyhuddwyd wrtho ei fôd efe megis yn afradloni ei dda ef. Ac efe a'i galwodd ef, ac a ddywedodd wrtho: pa beth yw hyn yr wyf yn ei glywed am danat? dyro gyfrif o'th orchwiliaeth, canys ni elli fôd mwy yn orchwiliwr. A'r gorchwiliwr a ddywedodd yntho ei hun, pa beth a wnâf, canys y mae fy arglwydd yn dwyn yr orchwiliaeth oddi-arnaf? cloddio nis gallaf, a chardotta sydd gywilyddus gennif. Luc.16.1.

Gwn

Gwn beth a wnâf, fel pan y'm bwrier allan o'r orchwiliaeth, y derbyniant fi i'w tai. Ac wedi iddo alw atto bob vn o ddyled-wŷr ei arglwydd, efe a ddywedodd wrth y cyntaf, pa faint sydd arnat o ddylêd i'm harglwydd? Ac efe a ddywedodd, can mesur o olew: yntef a ddywedodd wrtho: cymmer dy scrifen, ac eistedd yn ebrwydd, ac scrifenna ddêg a dau'gain. Yna y dywedodd efe wrth vn arall, pa faint o ddylêd sydd arnat tithe? ac efe a ddywedodd, can mesur o wenith. Yntef a ddywedodd wrtho, cymmer dy scrifen, ac scrifenna bedwar vgain. A'r arglwydd a ganmolodd y gorchwiliwr anghyfiawn am iddo wneuthur yn gall: oblegid y mae plant y bŷd hwn yn gallach yn eu cenhedlaeth nâ phlant y goleuni. Ac yr wyf fi yn dywedyd wrthych, gwnewch i chwi gyfeillon o'r golud anghyfiawn, fel pan fyddo eisieu arnoch, y'ch derbyniont i'r tragywyddol bebyll.

## Y x. Sûl gwedi 'r Drindod.

### Y Colect.

Bydded dy drugarogion glustiau ô Arglwydd yn agored i weddiau dy vfydd weision, ac er mwyn iddynt hwy gael eu gofynnion, gwna iddynt erchi y cyfryw bethau ag a ryngo bodd i ti, trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

### Yr Epistol.

1. Cor. 12. 1.



Am yspyrydol ddoniau, frodyr, ni fynnwn i chwi na's gwyddech. Chwi a wyddoch mai cenhedloedd oeddych, y rhai a ddygid at eulynnod mudion, fel y'ch tywysid. Am hynny yr wyf yn yspysu i chwi nad oes neb yn llefaru trwy Yspryd Duw, yn galw yr Iesu yn escommunbeth: ac nad oes neb a all ddywedyd yr Arglwydd

wydd Iesu, eithr yn yr Yspryd glân. Ac y mae amryw ddoniau, eithr yr vn Yspryd. Ac y mae amryw weinidogaethau, eithr yr vn Arglwydd. Ac y mae amryw weithrediadau, ond yr vn Duw yw'r hwn sydd yn gweithredu pob peth ym-mhawb. Eithr eglurhâd yr Yspryd a roddir i bob vn er lleshâd. Canys i vn y rhoddir trwy 'r Yspryd ymadrodd doethineb, ac i arall ymadrodd gwybodaeth trwy yr vn Yspryd. Ac i arall ffŷdd trwy yr vn Yspryd, ac i arall ddoniau iachâu trwy yr vn Yspryd. Ac i arall wneuthur gwyrthiau, ac i arall brophwydoliaeth, ac i arall iawn wahaniaeth ysprydoedd, ac i arall amryw dafodau, ac i arall gyfieithiad tafodau. A'r holl bethau hyn a weithreda yr vn a'r vnrhyw Yspryd, gan rannu i bob vn o'r naill-tu megis yr ewyllysia efe.

Yr Efengyl.



C wedi iddo ef ddyfod yn agos i Ierusalem, pan welodd efe y ddinas, ef a wylodd trosti, gan ddywedyd, pe gŵybasit tithe, ie, yn dy ddydd hwn, y pethau a berthynant i'th heddwch: eithr yn awr y maent yn guddiedig oddiwrth dy lygaid. Canys daw dyddiau arnat, a'th elynion a fwriant glawdd o'th amgylch, ac a'th amgylchât, ac a'th warchaeant o bob-parth. Ac a'th wnânt yn gyd-wastad â'r llawr, a'th blant y rhai ydynt o'th fewn, ac ni adawant ynot faen ar faen, am nad adwaenit amser dy ymweliad. Ac efe a aeth i mewn i'r Deml, ac a ddechreuodd fwrw allan y rhai oeddynt yn gwerthu ynddi ac yn prynu, gan ddywedyd wrthynt, y mae yn scrifennedig, Tŷ gweddi yw fy-nhŷ i, a chwi a'i gwnaethoch yn ogof lladron. Ac yr oedd efe beunydd yn dyscu yn y Deml. Luc.19.41.

Yr

## Y xi. Sûl gwedi 'r Drindod.

### Y Colect.

DUw, yr hwn wyt yn egluro dy holl-alluog nerth yn bennaf gan ddangos trugaredd, a thosturi, amlhâ dy râd arnom, hyd pan fo i ni drwy gyrchu at dy addewidion, allu bod yn gyfrannogion oth nefol dryssor, trwy Jesu Grist ein Harglwydd.

### Yr Epistol.

1.Cor.15.1. R ydwyf yn yspysu i chwi, frodyr, yr Efengyl yr hon a bregethais i chwi, yr hon hefyd a dderbyniasoch, ac yn yr hon yr ydych yn sefyll: trwy 'r hon y'ch cedwir, os ydych yn dal yn eich côf pa ymadrodd a bregethais i chwi, oddieithr darfod i chwi gredu yn ofer. Canys yn gyntaf mi a draddodais i chwi yr hyn a dderbyniais, farw o Ghrist tros ein pechodau, yn ôl yr scrythyrau, a'i gladdu ef, a'i gyfodi ef y trydydd dydd yn ôl yr scrythyrau, a'i weled ef gan Cephas, yna gan y deuddeg. Wedi hynny gwelwyd ef gan fwy nâ phum-cant brodyr ar vn-waith, o ba rai y mae llawer yn arhos hyd yn hyn, eithr rhai a hunasant. Wedi hynny gwelwyd ef gan Jaco, yna gan yr oll Apostolion. Ac yn ddiweddaf oll gwelwyd gennif finne hefyd, fel vn an-nhymmig. Canys my-fi ydwyf y lleiaf o'r Apostolion, yr hwn nid wyf addas i'm galw yn Apostol, am i mi erlid eglwys Dduw. Eithr trwy râs Duw yr wyf yr hyn ydwyf, a'i râs ef yr hwn sydd ynof ni bu yn ofer, ond mi a lafuriais yn helaethach nâ hwynt oll, nid my-fi chwaith, ond grâs Duw, yr hwn sydd gyd â mi. Am hynny pa vn bynnag ai my-fi, ai hwynt-hwy, felly yr ydym yn pregethu, ac felly y credasoch chwithau.

Yr Efengyl.


Hrist a ddywedodd y ddammeg hon wrth rai a oeddynt yn hyderu arnynt eu hunain eu bôd yn gyfiawn, ac yn diystyru eraill. Dau ddŷn a aethant i fynu i'r Demil i weddio, y naill yn Pharasead, a'r llall yn Bublican. Y Pharisead o'i sefyll a weddiodd wrtho ei hun fel hyn: ô Dduw yr wyf yn diolch i ti nad ydwyf fel dynion eraill, y rhai ydynt drawsion, anghyfiawn, yn odineb-wŷr, neu hefyd fel y Publican hwn. Yr ydwyf yn ymprydio ddwywaith yn yr wythnos, yr wyf yn degymmu cymmeint oll ac a feddaf. A'r Publican yn sefyll o hirbell, ni wnai gymmaint a chodi ei olygon tu a'r nêf, eithr curodd ei ddwyfron, gan ddywedyd, ô Dduw, bŷdd drugarog wrthif bechadur. Aeth, meddaf i chwi, hwn i wared i'w dŷ wedi ei gyfiawnhau yn fwy nâ'r llall, canys pwy bynnag a'i dyrchafo ei hun a ostyngir, a'r neb a'i gostyngo ei hun a ddyrchefir. Luc.18.9.

## Y xij. Sûl gwedi'r Drindod.

Y Colect.

HOll-alluog a thragywyddol Dduw, yr hwn yn wastad wyt barotach i wrando, nâ nyni i weddio, ac wyt arferol o roddi mwy nag a archom, neu a ryglyddom, tywallt arnom amlder dy drugaredd, gan faddeu i ni y cyfryw bethau ag y mae ein cydwybod yn eu hofni, a rhoddi i ni y peth ni feiddia ein gweddi ei erchi: trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

Yr Epistol.


Yfryw obaith sydd gennym trwy Ghrist ar Dduw: nid o herwydd ein bod yn ddigonol o honom ein hunain i feddylio dim megis o 2.Cor.3.4.

honom

honom ein hunain, eithr ein digonedd ni ſydd o Dduw. Yr hwn hefyd a'n gwnaeth ni yn weinidogion cymmwys y Teſtament newydd, nid i'r llythyren, ond i'r Yſpryd: canys y mae y llythyren yn lladd, a'r Yſpryd ſydd yn bywhau. Ac os oedd gweinidogaeth angau yr hon a argraphwyd â llythyrennau ar lechau yn ogoneddus, fel na alle plant yr Iſrael edrych yn graff yn ŵyneb Moſes gan ogoniant ei ŵyneb-pryd, yr hwn ogoniant a ddeleuwyd; pa fodd nad mwy y bydd gweinidogaeth yr Yſpryd mewn gogoniant? Canys os bu gweinidogaeth damnedigaeth yn ogoneddus, mwy o lawer y rhagora gweinidogaeth cyfiawnder mewn gogoniant.

## Yr Efengyl.

Marc. 7.31.



R Jeſu a aeth drachefn ymmaith o gyffiniau Tyrus a Sidon, ac a ddaeth hyd fôr Galilea trwy ganol cyffiniau Decapolis. A hwynt a ddugaſant atto un byddar ac attal dywedyd arno, ac a attolygaſant iddo ddodi ei law arno ef. Ac wedi iddo ei gymmeryd ef o'r naill tu allan o'r dyrfa, efe a eſtynnodd ei fyſedd yn ei gluſtiau ef, ac wedi iddo boeri efe a gyffyrddodd â'i dafod ef: a chan edrych i fynu tu a'r nef, ef a ocheneidiodd, ac a ddywedodd wrtho, Ephphatha, ſef ymagor. Ac yn ebrwydd ymagorodd ei gluſtiau ef, ac ymollyngodd rhwym ei dafod ef, ac efe a leſarodd yn eglur. Ac ef a waharddodd iddynt ddywedyd i neb. Ond pa mwyaf y gwaharddodd ef iddynt, mwy o lawer y cyhoeddaſant. A rhyfeddu a wnaethant yn ddirfawr, gan ddywedyd, da y gwnaeth efe bob peth: y mae efe yn gwneuthur i'r byddair glywed, ac i'r mudion ddywedyd.

## Y xiij. Sûl gwedi'r Drindod.

### Y Colect.

HOll-alluog a thrugarog Dduw, o rodd pwy vn yn vnic y daw, bod i'th bobl ffyddlon dy wasanaethu yn gywir, ac yn fawledic: Caniadhâ, ni a erfynniwn i ti, allu o honom redeg at dy nefol addewidion, megis na phallo gennym yn y diwedd eu mwynhau: trwy Jesu Grist ein Harglwydd.

### Yr Epistol.

I Abraham y traethwyd yr addewidion, Gal.3.16.
ac i'w hâd ef: nid yw yn dywedyd, Ac i'th hadau, megis am lawer, ond, Ac i'th hâd, megis am vn yr hwn yw Christ. Hyn yr wyf yn ei ddywedyd, nad yw y ddeddf (yr hon a ddaeth bedwar-cant, a deng mhlynedd ar hugain wedi) yn dyddymmu'r ammod a siccrhausid o'r blaen gan Dduw herwydd Christ, fel y dirymme yr addewid. Canys os o'r ddeddf y mae'r etifeddiaeth, nid yw hayach o addewid, ond Duw a'i rhoddes yn rhâd i Abraham drwy addewid. Beth gan hynny yw'r ddeddf? oblegid camweddau y doded hi yn chwaneg, hyd oni ddele yr hâd i'r hwn y gwnaethid yr addewid: ac hi a drefnwyd gan angelion drwy law cyfryng-ŵr. A chyfryngŵr nid yw gyfryng-ŵr i vn, ond Duw sydd vn. Gan hynny a ydyw y ddeddf yn erbyn addewidion Duw? na atto Duw: canys pe rhoesid deddf a allase roddi bywyd, yn wir fe fuase cyfiawnder o'r ddedf. Eithr yr scrythur a gaeodd bob peth dan bechod, fel y rhoddid yr addewid trwy ffydd Jesu Ghrist i'r rhai a gredant.

### Yr Efengyl.

GWyn fyd y llygaid sy yn gweled y pethau yr Luc.10.23.
ydych chwi yn eu gweled. Canys yr wyf yn dywedyd i chwi ewyllysio o lawer o brophwydi

ydi a brenhinoedd weled y pethau yr ydych chwi yn eu gweled, ac ni's gwelsant: a chlywed y pethau yr ydych chwi yn eu clywed, ac ni's clywsant. Ac wele rhyw gyfreithiwr a gyfododd i fynu, gan ei demptio ef, a dywedyd, Athro, pa beth a wnâf, i etifeddu bywyd tragywyddol? Yntef a ddywedodd wrtho, pa beth sydd scrifennedig yn y gyfraith? pa fodd y darlleni? Ac ef a attebodd, ac a ddywedodd: Cari yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon, ac â'th oll enaid, ac â'th oll nerth, ac â'th oll feddwl: a'th gymydog fel ty-hun. Yntef a ddywedodd wrtho, da 'r attebaist: gwna hyn, a byw fyddi. Eithr efe yn ewyllysio ei gyfiawnhau ei hun a ddywedodd wrth yr Iesu: a phwy yw fy-nghymydog? A'r Iesu a attebodd, ac a ddywedodd, Rhyw ddŷn a aeth i wared o Ierusalem i Iericho, ac a syrthiodd ym-mysc lladron, y rhai wedi iddynt ei ddiosc, a'i archolli, a aethant ymmaith, gan ei adel ef yn hanner marw. Ac wrth ddamwain, rhyw offeiriad a ddaeth i wared ar hyd y ffordd honno: ac wedi iddo ei weled, ef a aeth o'r tu arall heibio. Yr un modd Lefiad hefyd, wedi dyfod yn agos i'r lle, a ddaeth, ac a edrychodd arno, ac a aeth heibio o'r tu arall. A rhyw Samariad wrth ymddaith a ddaeth yn agos atto ef, a phan ei gwelodd, a dosturiodd. Ac wedi iddo ddyfod atto, ef a rwymodd ei archollion, gan dywallt ynddynt olew, a gwîn: ac wedi iddo ei ddodi ef ar ei anifail ei hun, efe a'i dûg ef i'r lletty, ac a'i hymgeleddodd. A thrannoeth wrth fyned ymmaith, efe a dynnodd allan ddwy geiniog, ac a'u rhoddes i'r llettywr, ac a ddywedodd wrtho: ymgeledda ef, a pha beth bynnag a dreulech yn chwaneg, pan ddelwyf trachefn mi a'i talaf i ti. Pwy gan hynny o'r tri hyn, i'th dŷb di, oedd gymydog i'r hwn a syrthiodd ymmhlith

y lladron :. Ac ef a ddywedodd, yr hwn a wnaeth drugaredd ag ef. A'r Iesu a ddywedodd wrtho, dôs, gwnâ dithe yr vn môdd.

## Y xiiij. Sûl gwedi 'r Drindod.

### Y Colect.

HOll-alluog a thragywyddol Dduw, dod ti i ni anghwaneg o ffydd, gobaith, a chariad perffaith: ac fel y gallom gael yr hyn ydd wyt yn ei addo, gwna i ni garu yr hyn a orchymynych, trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

### Yr Epistol.



Ywedyd yr ydwyf, Rhodiwch yn yr Yspryd, ac na chyflawnwch a chwennychwo y cnawd. Canys y mae y cnawd yn chwennych yn erbyn yr Yspryd, a'r Yspryd yn erbyn y cnawd, a'r rhai hyn a wrthwynebant ei gilydd, fel na alloch wneuthur beth bynnag a ewyllysioch. Eithr os gan yr Yspryd y'ch arweinir, nid ydych tan y ddeddf. Hefyd amlwg yw gweithredoedd y cnawd, y rhai ynt tor-priodas, godineb, aflendid, anlladrwydd, addoliad eulynnod, swyn-gyfaredd, casineb, cynnhennau, gwŷnfydu, llid, ymrysonau, anghyttundeb, heresiau, cenfigennau, llofruddiaeth, meddw-dod, cyfeddach, a'r cyffelyb bethau hyn, y rhai yr wyf fi yn rhag-ddywedyd wrthych, fel y dywedais yn y blaen, am y rhai a wnânt y fâth bethau nad etifeddant deyrnas Dduw. Eithr ffrwyth yr Yspryd yw cariad, llawenydd, tangnheddyf, hir-ymaros, cymmwynasgarwch, daioni, ffŷdd, llaryeidd-dra, dirwest. Yn erbyn y cyfryw, nid oes ddeddf. A'r rhai sy eiddo Christ, a groes-hoeliasant y cnawd, a'i wyniau, a'i chwantau.

Gal.5.16.

Yr Efengyl.

Luc.17.11. BU hefyd a'r Iesu yn myned i Ierusalem, fyned o honaw ef trwy ganol Samaria, a Galilêa. A phan oedd efe yn myned i mewn i ryw dref, cyfarfu ag ef ddec o wŷr gwahan-gleifion: y rhai a safasant o hir-bell. Ac hwy a godasant eu llêf, gan ddywedyd, Iesu feistr, trugarhâ wrthym. A phan welodd efe hwynt, ef a ddywedodd wrthynt: ewch, ac ymddangoswch i'r offeiriaid. A darfu a hwynt yn myned, eu glanhau hwynt. Ac vn o honynt pan welodd ddarfod ei iachâu, a ddychwelodd, gan ogoneddu Duw â llêf vchel. Ac efe a syrthiodd ar ei wyneb wrth ei draed ef, gan ddiolch iddo: a hwnnw oedd Samariad. A'r Iesu a attebodd, ac a ddywedodd, oni lanhawyd y dêg? a pha le y mae 'r naw eraill? Ni châd a ddychwelasant i roddi gogoniant i Dduw, onid yr estron hwn. Ac efe a ddywedodd wrtho, cyfod, a dôs ymmaith, dy ffŷdd a'th iachaodd.

Y xv. Sûl gwedi 'r Drindod.

Y Colect.

CAdw, attolygwn i ti Arglwydd dy Eglwys â'th dragywyddol drugaredd: a chan na ddichon gwendid dyn hebot ti onid syrthio, cadw ni byth trwy dy borth, ac arwain ni at bob peth buddiol i'n hiechydwriaeth, trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

Yr Epistol.

Gal.6.11. GWelwch cyhyd y llythyr a scrifennais attoch â'm llaw fy hun. Cynnifer ac a ewyllysiant ddangos wyneb têg yn y cnawd, hwynt-hwy ydynt yn eich cymmhell i'ch enwaedu, yn vnig fel nad erlidier hwy oblegid croes Christ. Canys nid ydynt hwy eu hunain y rhai a enwaedir yn cadw y ddeddf,

ond

ond y maent yn ewyllysio eich enwaedu chwi fel y gorfoleddant yn eich cnawd chwi. Eithr na atto Duw i mi orfoleddu ond yngh̄roes ein Harglwydd Jesu Ghrist, drwy'r hwn y croes-hoeliwyd y bŷd i mi, a minne i'r bŷd. Canys yn Ghrist Jesu ni ddichon enwaediad ddim, na dienwaediad, ond creadur newydd. A phwy bynnag a rodiant ar ôl y rheol hon, tangnheddyf arnynt, a thrugaredd, ac ar Israel Duw. O hyn allan na flined neb fi: canys dwyn yr wyf yn fy-nghorph nodau'r Arglwydd Jesu. Y brodyr, Grâs ein Harglwydd Jesu Grist gŷd â'ch yspryd chwi. Amen.

Yr Efengyl.



NJ ddichon neb wasanaethu dau arglwydd, canys naill ai efe a gashâ'r naill, ac a gâr y llall, ai efe a ymlyn wrth y naill, ac a esceulusa'r llall: ni ellwch wasanaethu Duw a golud-bydol. Am hynny meddaf i chwi, na ofelwch am eich bywyd, pa beth a fwytaoch, neu pa beth a yfoch: nac am eich corph, pa beth a wiscoch: onid yw'r bywyd yn fwy nâ'r bwyd? a'r corph yn fwy nâ'r dillad? Edrychwch ar adar y nefoedd, oblegid nid ydynt yn hau, nac yn medi, nac yn cywain i scuboriau, ac y mae eich Tâd nefol yn eu porthi hwynt: onid ydych chwi yn rhagori llawer arnynt hwy? A phwy o honoch gan ofalu a ddichon chwanegu vn cufydd at ei faint? A pha ham yr ydych chwi yn gofalu am ddillad? dyscwch pa wedd y mae lili'r maes yn tyfu: nid ydynt yn llafurio, nac yn nyddu. Eithr yr wyf yn dywedyd i chwi, na wiscwyd Salomon yn ei holl ogoniant fel vn o'r rhai hyn. Am hynny os dillada Duw felly lysieuyn y maes, yr hwn sydd heddyw, ac yfory a fwrir i'r ffwrn, oni ddillada efe chwi yn fwy o lawer, ô rai o ychydig ffŷdd? Am hynny na ofelwch. Mat.6.24.

wch, gan ddywedyd, beth a fwytawn? neu, beth a yfwn? neu â pha beth yr ymddilladwn? Canys am y pethau hyn oll yr ymofyn y Cenhedloedd, oblegid eich Tâd nefol a ŵyr fôd arnoch eisiau yr holl bethau hyn. Eithr yn gyntaf ceisiwch deyrnas Dduw a'i gyfiawnder, a'r holl bethau hyn a roddir i chwi yn chwaneg. Na ofelwch gan hynny dros drannoeth, canys trannoeth a ofala trosto ei hunan. Digon i'r diwrnod ei ddryganiaeth ei hun.

## Yr xvj. Sûl gwedi'r Drindod.

### Y Colect.

ARglwydd attolygwn iti, fod i'th wastadol dosturi lanhau ac amddeffyn dy gynnulleidfa: a chan na all hi barhau mewn diogelwch heb dy fendigedic nodded, cadw y hi byth gan dy borth a'th ddaioni, trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

### Yr Epistol.

Eph.3.13.



R wyf yn dymuno arnoch na lwfrhaoch oblegid fy-mlinderau i er eich mwyn chwi, yr hyn yw eich gogoniant. O herwydd y peth hyn plygaf fy-ngliniau at Dâd ein Harglwydd Iesu Ghrist (o ba un yr henwir yr holl deulu yn y nefoedd ac ar y ddaiar) ar roddi o honaw ef i chwi yn ôl cyfoeth ei ogoniant ymgadarnhau mewn nerth trwy ei Yspryd ef yn y dŷn oddi mewn, fel y trigo Christ yn eich calonnau trwy ffŷdd. Fel y galloch wedi eich gwreiddio, a'ch seilio mewn cariad, amgyffred gŷda'r holl saintt beth yw'r llêd, a'r hŷd, a'r dyfnder, a'r uchder: ac adnabod cariad Christ, yr hwn sydd yn rhagori pob gŵybodaeth, fel y'ch llanwer â holl gyflawnder Duw. Iddo ef yr hwn a ddichon wneuthur pob peth yn fwy tra-rhagorol nag yr ydym ni yn dymuno, neu yn deall o herwydd y nerth sydd yn gweithio, ynom,

y byddo gogoniant yn yr eglwys trwy Ghrist Iesu, tros yr holl genhedlaethau yn oes oesoedd. Amen.

Yr Efengyl.


A Bu drannoeth i'r Iesu fyned i ddinas a elwid Naim, a llawer o'i ddiscyblion a aethant gyd ag ef, a thyrfa fawr. A phan ddaeth efe yn agos at borth y ddinas, wele, un marw a ddygid allan, yr hwn oedd unig fâb ei fam, a honno yn weddw: a llawer o bobl y ddinas oedd gyd â hi. A phan welodd yr Arglwydd hi, ef a gymmerodd drugaredd arni, ac a ddywedodd wrthi, nac ŵyla. A phan ddaeth attynt, ef a gyffyrddodd â'r elor (a'r rhai oedd yn ei dwyn a safasant) ac ef a ddywedodd, y mâb ieuangc, yr wyf yn dywedyd wrthit, cyfot. A chyfodes y marw yn ei eistedd, ac a ddechreuodd lefaru: ac efe a'i rhoddes ef i'w fam. Ac ofn a ddaeth arnynt oll, ac hwy a ogoneddasant Dduw, gan ddywedyd, yn ddiau prophwyd mawr a gyfododd yn ein plith, a diau ymwelodd Duw â'i bobl. A'r gair hwn a aeth allan am dano tros holl Iudêa, a thros gwbl o'r wlâd oddiamgylch. Luc.7.11.

Y xvij. Sûl gwedi 'r Drindod.

Y Colect.

ARglwydd ni a attolygwn i ti, fod dy râd bob amser yn ein rhagflaenu, a'n dilyn; a pheri o honot i ni yn wastad ymroddi i bob gweithred dda, trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

Yr Epistol.


M Y-fi yr hwn ydwyf garcharor yn yr Arglwydd, wyf yn attolwg i chwi rodio yn deilwng o'r alwedigaeth y'ch galwyd iddi, gyd â phob gostyngeiddrwydd, a llaryeidd-dra, ynghyd â hir-ymaros, gan oddef ei gilydd mewn cariad, gan ymroi i gadw Eph.4.1.


undeb

undeb yr Yspryd yng hwlwm tangnheddyf. Un corph, ac un yspryd sydd, megis y'ch galwyd yn un gobaith eich galwedigaeth: un Arglwydd, un ffŷdd, un bedydd, un Duw, a Thâd oll, yr hwn sydd goruwch oll, a thrwy oll, ac ynoch oll.

Yr Efengyl.

Luc. 14. 1. 
Bu hefyd pan ddaeth efe i dŷ rhyw un o'r Phariseaid pennaf ar y Sabboth i fwyta bara, ddisgwil o honynt hwy-ythau ef. Ac wele'r oedd gar ei fron ef ryw ddŷn yn glâf o'r dropsi. A'r Iesu gan atteb a lefarodd wrth y cyfraith-wŷr, a'r Phariseaid, gan-ddywedyd: a'i rhydd yw iachâu ar y dydd Sabboth? A thewi a wnaethant hwy. Ac efe a'i cymmerth ef atto, ac a'i hiachaodd ef, ac a'i gollyngodd ymmaith. Ac a'u hattebodd hwynt, ac a ddywedodd, pwy o honoch os syrth ei asyn, neu ei ŷch mewn pwll, ni thynn ef allan yn ebrwydd ar y dŷdd Sabboth? Ac ni allent roi atteb yn ei erbyn ef am y pethau hyn. Ac efe a ddywedodd ddammeg wrth y gwahoddedigion, pan ystyriodd fel yr oeddynt yn dewis yr eisteddleoedd uchaf, gan ddywedyd wrthynt: Pan y'th wahodder gan neb i neithior, nac eistedd yn y lle uchaf, rhag bod un anrhydeddusach nâ thi wedi ei wahadd ganddo, ac i hwn a'th wahoddodd di ac yntef ddyfod, a dywedyd wrthit, dyro le i hwn, ac yna dechreu o honot ti trwy gywilydd gymmeryd y lle isaf. Eithr pan y'th wahodder, dôs, ac eistedd yn y lle isaf, fel pan ddelo yr hwn a'th wahoddodd di, y gallo efe ddywedyd wrthit, ô gyfaill, eistedd yn uwch i fynu: yna y bydd i ti barch yngŵydd y rhai a eisteddant gŷd â thi wrth y ford. Canys pwy bynnag a'i dyrchafo ei hun, a ostyngir: a'r neb a'i gostyngo ei hun a ddyrchefir.

## Y xviij. Sûl gwedi'r Drindod.

### Y Colect.

O Arglwydd ni a attolygwn i ti ganiadhau i'th bobl rad i ymogelyd rhac llwgr y cythrael, ac â phur galon a meddwl dy ddilyn yr unic Dduw, trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

### Yr Epistol.



I'M Duw yr wyf yn diolch drosoch chwi 1.Cor.1.4.
yn wastad, am y grâs Duw a rodded i chwi yn Ghrist Iesu. Am eich cyfoethogi ym-mhob peth ynddo ef, mewn pob ymadrodd, a phob gwybodaeth: megis y cadarnhawyd tystiolaeth Christ ynoch, fel nad ydych chwi yn ddiffygiol o un dawn, gan ddisgwil am ymddangosiad ein Harglwydd Iesu Grist. Yr hwn hefyd a'ch cadarnhâ chwi hyd y diwedd yn ddiargyoeddus yn nŷdd ein Harglwydd Iesu Ghrist.

### Yr Efengyl.



GWedi clywed o'r Pharisêaid ddarfod i'r Mat.22.34.
Iesu ostegu y Saducêaid, hwy a ymgynnullasant i'r un-lle. Ac un o honynt, yr hwn oedd gyfraithiwr, a ofynnodd iddo gan ei demptio, a dywedyd, Athro, pa un yw'r gorchymmyn mawr yn y gyfraith? A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Ceri yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon, ac â'th holl enaid, ac â'th holl feddwl. Hwn yw'r cyntaf, a'r gorchymmyn mawr. A'r ail sydd gyffelyb i hwn, Ceri dy gymydog fel tydi dy hun. Yn y ddau orchymyn hyn y mae'r holl gyfraith, a'r prophwydi yn sefyll. Ac wedi ymgasclu o'r Pharisêaid ynghŷd, yr Iesu a ofynnodd iddynt, gan ddywedyd, Beth a dybygwch chwi am Ghrist? mâb i bwy ydyw? dywedâsant wrtho, mâb Dafydd. Yntef a ddywedodd wrthynt, pa fodd gan

hynny

hynny y mae Dafydd yn yr yspryd yn ei alw ef yn Arglwydd, gan ddywedyd, Dywedodd yr Arglwydd wrth fy Arglwydd, eistedd ar fy neheu-law hyd oni osodwyf dy elynion yn faingc i'th draed. Am hyny os geilw Dafydd ef yn Arglwydd, pa fodd y mae efe yn fâb iddo? Ac ni fedre neb atteb gair iddo, ac ni feiddiodd neb o'r dŷdd hwnnw allan ymofyn ag ef mwy.

## Y xix. Sûl gwedi'r Drindod.

### Y Colect.

O Dduw, can na allwn ni hebot ti ryngu bodd i ti: caniadhâ i weithrediad dy drugaredd bnioni a llywiaw ein calonau, trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

### Yr Epistol.

Eph. 4. 17. 

Hyn yr wyf yn ei ddywedyd, ac yn ei dystiolaethu yn yr Arglwydd, na rodioch chwi mwyach fel y mae y cenhedloedd eraill yn rhodio mewn gwagedd eu meddwl: wedi tywyllu eu meddwl, y rhai ydynt wedi eu dieithro oddiwrth fuchedd Dduw, drwy yr anwybod y sydd ynddynt, trwy galedrwydd eu calon. Y rhai wedi iddynt ddiddarbodi a ymroesant i drythyllwch, i wneuthur pob aflendid yn bnchwant. Eithr chwy-chwi nid felly y dyscasoch Ghrist. Os bu i chwi ei glywed ef, ac os dyscwyd chwi ynddo megis y mae 'r gwirionedd yn yr Iesu, sef dodi o honoch heibio, o ran yr ymddygiad cyntaf, yr hên ddŷn yr hwn sydd lygredig drwy drachwantau twyllodrus, ac ymadnewyddu yn yspryd eich meddwl, a gwisco y dŷn newydd, yr hwn a grewyd yn ôl Duw mewn cyfiawnder, a gwir sancteiddrwydd. O herwydd pa ham gan fwrw ymmaith gelwydd, dywedwch bawb y gwir wrth ei gymmydog, canys aelodau ydym i'w gilydd. Digiwch, ac na phechwch,

wch, na fachluded yr haul ar eich digofaint chwi. Ac na roddwch le i ddiafol. Yr hwn a ladrattaodd, na ladratted mwyach, eithr cymmered boen yn hytrach, gan weithio â'i ddwylaw y peth sydd dda, fel y byddo ganddo beth i'w gyfrannu i'r anghênog. Na ddeued vn ymadrodd llygredig allan o'ch genau chwi, ond cyfryw vn a fyddo da i adeilad pan fyddo rhaid, fel y paro râs i'r gwrandawyr. Ac na thristewch lân Yspryd Duw, gan yr hwn y'ch seliwyd i ddŷdd yr adbrynedigaeth. Tynner ymmaith oddi wrthych bôb chwerwedd, a llid, a dig, a llefain, a chabledd gŷd â phob drygioni: a byddwch gymmwynasgar i'w gilydd, a thrugarogion, gan faddeu i'w gilydd, fel y maddeuodd Duw er mwyn Christ i chwithau.

## Yr Efengyl.

YR Jesu a aeth i mewn i'r llong, ac a aeth trosodd, ac a ddaeth i'w ddinas ei hun. Ac wele, hwy a ddugasant atto vn clâf o'r parlys, yn gorwedd mewn gwely: a'r Jesu yn gweled eu ffŷdd hwy, a ddywedodd wrth y clâf o'r parlys, ha fâb, cymmer gyssur, maddeuwyd i ti dy bechodau. Ac wele rhai o'r scrifennyddion a ddywedasant ynddynt eu hunain, y mae hwn yn cablu. A phan welodd yr Jesu eu meddyliau, ef a ddywedodd, pa ham y meddyliwch ddrŵg yn eich calonnau? Canys pa vn hawsaf ai dywedyd, maddeuwyd i ti dy bechodau, a'i dywedyd, cyfod a rhodia? Eithr fel y gwypoch fod meddiant i Fâb y dŷn ar y ddaear i faddeu pechodau, (yna y dywedodd efe wrth y clâf o'r parlys) cyfod, cymmer dy wely, a dôs i'th dŷ. Ac efe a gyfodes, ac a aeth ymmaith i'w dŷ ei hun. Felly, pan welodd y dyrfa, rhyfeddu a wnaethant, a gogoneddu Duw, yr hwn a roese gyfryw awdurdod i ddynion. Mat. 9. 1.

## Y xx. Sûl gwedi 'r Drindod.

### Y Colect.

HOll-gyfoethog a thrugarog Dduw o'th ragorol ddaioni cadw ni rhag pob peth a'n dryga, fel y byddom yn barod yn enaid a chorph i allu â chalonnau rhyddion gyflawni y cyfryw bethau ag a fynnit ti eu gwneuthur, trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

### Yr Epistol.

Eph.5.15. GWelwch gan hynny pa fodd y rhodioch yn ddiescaelus, nid fel annoethion, ond fel doethion, gan brynu yr amser, canys y dyddiau sy ddrwg. Am hynny na fyddwch ammhwyllogion, eithr dyellwch beth yw ewyllys yr Arglwydd. Ac na feddwer chwi gan win, yn yr hwn y mae gormodedd, eithr llanwer chwi o'r Yspryd: gan ymddiddan a'i gilydd mewn Psalmau, a hymnau, ac odlau ysprydol, gan ganu, a phyngcio i'r Arglwydd yn eich calonnau: gan ddiolch yn oestad i Dduw a'r Tâd am bob peth yn enw ein Harglwydd Iesu Ghrist, gan ymddarostwng i'w gilydd yn ofn Duw.

### Yr Efengyl.

Mat.22.2. YR Iesu a ddywedodd wrth ei ddiscyblon, Cyffelyb yw teyrnas nefoedd i ddŷn a oedd frenhin, yr hwn a wnaethe briodas i'w fâb, ac a ddanfonodd ei weision i alw y rhai a wahoddasid i'r briodas, ac ni fynnent hwy ddyfod. Trachefn ef a anfonodd weision eraill, gan ddywedyd, dywedwch wrth y rhai a wahoddwyd, wele, parotoais fy-nghinio, fy ychen, a'm pascedigion a laddwyd, a phob peth sydd barod, deuwch i'r briodas. Ac hwy yn ddiystyr ganddynt, a aethant ymmaith, un i'w faes, ac arall i'w fasnach. A'r llaill a ddaliasant ei weision ef, ac a wnaethant yn drahaus â hwynt, ac a'u lladdasant.

A phan glybu y brenhin, efe a lidiodd, ac a ddanfonodd ei luedd-wyr, ac a ddinystriodd y lleiddiaid hynny, ac a loscodd eu dinas hwynt. Yna efe a ddywedodd wrth ei weision, yn wir y briodas sydd barod, ond y rhai a wahoddwyd nid oeddynt deilwng. Ewch gan hynny i'r prif-ffyrdd, a chynnifer ac a gaffoch gwahoddwch i'r briodas. A'r gweision hynny a aethant allan i'r prif-ffyrdd, ac a gasclasant ynghŷd gynnifer oll ac a gawsant, drwg a da, a llanwyd y briodas o wahoddedigion. A phan ddaeth y brenhin i mewn i weled y gwahoddedigion, efe a ganfu yno ddŷn heb wisc priodas am dano. Ac ef a ddywedodd wrtho, y cyfaill, pa fodd y daethost i mewn ymma heb fod gennit wisc priodas? ac yntef a aeth yn fûd. Yna y dywedodd y brenhin wrth y gweision, rhwymwch ei draed a'i ddwylo, a chymerwch ef ymmaith, a theflwch i'r tywyllwch eithaf, yno y bŷdd wylofain a rhingcian dannedd. Canys llawer sydd wedi eu galw, ac ychydig wedi eu dewis.

## Yr xxj. Sûl gwedi 'r Drindod.

### Y Colect.

O Drugarog Arglwydd ni a attolygwn i ti ganiadhau i'th ffyddlawn bobl faddeuaint a thangneddyf, fel y glanhaer hwynt oddi-wrth eu holl bechodau, ac y gwasanaethant ti â meddwl heddychol, trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

### Yr Epistol.



Fy mrodyr ymnerthwch yn yr Arglwydd, ac ynghadernid ei allu ef. Gwisccwch oll arfogaeth Dduw, fel y galloch chwi sefyll yn erbyn cynllwynion diafol. Am nad yw ein hymdrech ni yn erbyn gwaed a chnawd, eithr yn erbyn tywysogaethau, yn erbyn awdurdodau, yn erbyn bydol gedyrn Ephe.6.10.

tywyllwch

tywyllwch y bŷd hwn, yn erbyn drygau ysprydol yn y nefol leoedd. Am hynny cymmerwch attoch holl arfogaeth Dduw, fel y galloch wrthladd yn y dŷdd blîn, a sefyll wedi i chwi orphen y cwbl. Sefwch gan hynny, wedi gwregysu eich lwynau â gwirionedd, a gwisco dwyfronneg cyfiawnder, a gwisco am eich traed escidiau parotoad Efengyl tangnheddyf. Uwch ben pob dim cymmerwch darian y ffŷdd, â'r hwn y gellwch ddiffoddi holl biccellau tanllyd y fall: cymmerwch hefyd helm yr iechydwriaeth, a chleddyf yr Yspryd, yr hwn yw gair Duw. A gweddiwch bob amser â phôb rhyw weddi a deisyfiad yn yr Yspryd, gan fod yn wiliadwrus at hyn trwy bob dyfalwch, ac ymbil tros yr holl sainct, a throsof finne, ar roddi i mi ymadrodd i agoryd fy-ngenau mewn rhydd-did, i wneuthur yn eglur ddirgelwch yr Efengyl, er mwyn yr hon yr wyf yn gennad mewn cadwyn, fel y traethwyf yn hyderus am deni, megis y perthyn i mi draethu.

## Yr Efengyl.

Ioan.4.46.



R oedd rhyw bendefig, yr hwn yr oedd ei fâb yn glâf yn Capernaum. Pan glybu hwn ddyfod Iesu o Iudêa i Galilêa, ef a aeth atto ac a attolygodd iddo ddyfod i wared, ac iachâu ei fâb ef: canys yr oedd efe ym-mron marw. Yna'r Iesu a ddywedodd wrtho ef, oni welwch chwi arwyddion, a rhyfeddodau ni chredwch. Y pendefig a ddywedodd wrtho ef, ô Arglwydd, dyred i wared cyn-marw fy machgen. Yr Iesu a ddywedodd wrtho ef, dôs ymaith, y mae dy fâb yn fyw, a'r dŷn a gredodd y gair yr hwn a ddywedase'r Iesu wrtho ef, ac efe a aeth ymmaith. A phan oedd efe weithian yn myned i wared, ei weision a gyfarfuant ag ef, ac a fynegasant,

sant, gan ddywedyd: y mae dy fachgen yn fyw. Yna efe a ofynnodd iddynt yr awr y gwellaese arno: a hwy a ddywedasant wrtho, doe y seithfed awr y gadawodd y cryd ef. Yna y gwybu 'r tâd mai yn yr awr honno y buase hyn, yn yr hon y dywedase'r Iesu wrtho ef, y mae dy fâb yn fyw: ac efe a gredodd, a'i holl dŷ. Dymma'r ail arwydd a wnaeth yr Iesu drachefn, wedi iddo ef ddyfod o Iudêa i Galilêa.

## Y xxij. Sûl gwedi'r Drindod.

### Y Colect.

ARglwydd ni attolygwn i ti gadw dy deu-lu, yr Eglwys mewn duwiolder gwastadol, fel y bo trwy dy nodded ti, ei gwaredu oddi-wrth bob gwrthwyneb, ac iddi yn ddefosionol ymroi i'th wasanaethu mewn gweithredoedd da, er gogoniant i'th Enw, trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

### Yr Epistol.



I'M Duw yr ydwyf yn diolch ym-mhob coffa am danoch, (gan weddio bob amser yn fy holl weddiau trosoch oll yn llawen) oblegid y gyfran yr hon sydd i chwi yn yr Efengyl, o'r dŷdd cyntaf hyd yr awrhō. Gan fod yn siccr gennif hyn ymma, y gorphen yr hwn a ddechreuodd waith da ynoch, hyd yn nŷdd Iesu Ghrist, megis y mae yn iawn i mi synnied hyn am danoch oll, am eich bôd gennif yn fy-nghalon, yn gystal yn fy rhwymau, ac yn fy amddiffyn i, a chadarnhâd yr Efengyl, gan eich bod chwi oll yn gyd-gyfrannogion â mi o râs. Canys Duw sydd dŷst i mi mor hiraethus wyf am danoch oll yn ymyscaroed Iesu Ghrist. A hyn yr ydwyf yn ei weddio, sef ar amlhau o'ch cariad etto fwy-fwy mewn gwybodaeth a phob synwyr: i fedru o honoch ddosparthu Phil. 1.3.

y

y pethau y mae gwahaniaeth rhyngthynt, fel y byddoch bûr a didramgwydd hyd ddŷdd Christ, wedi eich cyflawni â ffrwythau cyfiawnder, y rhai ydynt trwy Iesu Ghrist, er gogoniant, a moliant i Dduw.

Yr Efengyl.

Mat.18.21. Etr a ddywedodd wrth Iesu, Arglwydd, pa sawl gwaith y pecha fy-mrawd i'm herbyn, ac y maddeuaf iddo, ai hyd saith-waith? Yr Iesu a ddywedodd wrtho, nid wyf yn dywedyd wrthit, hyd saith-waith, onid hyd ddeng-waith a thri-ugain seith-waith. Am hynny y mae yn gyffelyb teyrnas nefoedd i ddŷn a oedd yn frenhin a fynne gael cyfrif gan ei weision. A phan ddechreuodd gyfrif fe a dducpwyd atto vn oedd yn ei ddylêd ef o ddeng-mil o dalentau. A chan nad oedd ganddo ddim i dalu, fe a orchymynnod ei arglwydd ei werthu ef, a'i wraig, a'i blant, a chwbl o'r a fedde, a thalu'r ddylêd. A'r gwâs gan syrthio i lawr a attolygodd iddo gan ddywedyd, Arglwydd, bydd dda dy ymaros wrthif, a mi a dalaf i ti y cwbl. Yna arglwydd y gwâs hwnnw a dosturiodd wrtho, ac a'i gollyngodd, ac a faddeuodd iddo y ddylêd. Ac wedi myned y gwâs hwnnw allan, efe a gafodd vn o'i gyd-weision yr hwn oedd yn ei ddylêd ef o gant ceiniog, ac efe a ymaflodd ynddo, ac a'i llindagodd, gan ddywedyd, tâl i mi yr hyn sydd ddyledus arnat. Yna y syrthiodd ei gyd-was wrth ei draed ef, ac a ymbiliodd ag ef, gan ddywedyd, bydd ymarhous wrthif, a thalaf i ti y cwbl. Ac nis gwnai efe, onid myned a'i fwrw ef yngharchar, hyd oni dale ef yr hyn oedd ddyledus. A phan weles ei gyd-weision y pethau a wnelsid, bu ddrwg dros ben ganddynt, ac hwy a ddaethant, ac a fynegasant i'w harglwydd yr holl bethau a fuasent. Yna y galwodd ei arglwydd arno

ef,

ef, ac a ddywedodd wrtho, ha wâs drwg, maddeuais i ti yr holl ddylêd honno, am i ti ymbil â mi, ac oni ddylesit tithe drugarhau wrth dy gyd-was, megis y trugarheais inne wrthit ti? A'i arglwydd a ddigiodd, ac a'i rhoddes ef i'r poen-wŷr, hyd oni thale yr hyn oll oedd ddyledus iddo. Ac felly y gwnâ fy nefol Dâd i chwithau, oni faddeuwch o'ch calonnau bob vn i'w frawd eu camweddau.

## Y xxiij. Sûl gwedi 'r Drindod.

### Y Colect.

DUw ein Nodded a'n cadernid, yr hwn wyt benadur pob dwywolder, gwrando yn ebrwydd ddefosionol weddiau dy Eglwys; a chaniadhâ i ni am yr hyn ydd ŷm yn ei erchi yn ffyddlawn, allu ei gael yn gyflawn trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

### Yr Epistol.



HA frodyr, dylynwch fi, ac edrychwch ar y rhai sy yn rhodio felly, megis yr ydym yn siampl i chwi. Canys llawer a rodiant, am ba rai y dywedais i chwi yn fynych, ac yr awrhon yr ydwyf yn dywedyd i chwi dan wylo, mai gelynion croes Christ ydynt. Y rhai y mae eu diwedd yn gyfrgoll, Duw y rhai yw eu bol, a'u gogoniant yn wradwydd iddynt, y rhai y mae eu meddwl am bethau daearol. Canys ein gwladwriaeth ni sydd yn y nefoedd, o'r lle yr ydym yn edrych am yr Iachawdr, yr Arglwydd Iesu Ghrist. Yr hwn a gyfnewidia ein corph gwael ni, fel y gwneler yn vn ffurf â'i gorph gogoneddus ef, o herwydd y grym trwy'r hwn y dichon efe ddarostwng pob dim iddo ei hun. Phil.3.17.

Yr Efengyl.

Matt.22.15.


Na ydd aeth y Phariseaid, ac a gymmerasant gyngor pa fodd y maglent ef yn ei ymadrodd. Ac hwy a ddanfonasant atto eu discyblion ynghŷd â 'r Herodianiaid, gan ddywedyd, Athro, gwŷddom dy fod ti yn airwir, ac yn dyscu ffordd Dduw mewn gwirionedd, ac nad oes arnat ofal rhag neb: oblegid nid wyt yn edrych ar wyneb dynion. Dywet i ni gan hynny, beth yr wyt ti yn ei dybieid, ai cyfraithlawn rhoddi teyrnged i Cêsar, ai nad yw? A'r Iesu yn gŵybod eu drygioni hwynt, a ddywedodd, pa ham yr ydych yn fy-nhemptio i, chwi ragrith-wŷr? Dangoswch i mi arian-bath y deyrn-ged, ac hwy a ddygasant atto geiniog. Ac efe a ddywedodd wrthynt, eiddo pwy yw y ddelw hon a'r argraph? Dywedasant wrtho, eiddo Cêsar: Yna y dywedodd yntef wrthynt, telwch chwithau yr eiddo Cêsar i Cêsar, a'r eiddo Duw i Dduw. A phan glywsant hwy hyn, rhyfeddu a wnaethant, a'i adel, a myned ymmaith.

Y xxiiij. Sûl gwedi 'r Drindod.

Y Colect.

ARglwydd attolygwn i ti ollwng dy bobl oddiwrth eu cam-weddau, fel y byddom trwy dy ddawnus drugaredd ryddion oddi-wrth rwymedigaethau ein holl bechodau, y rhai drwy ein cnawdol freuolder a wnaethom: Caniadhâ hyn er cariad ar Iesu Grist ein Harglwydd.

Yr Epistol.



R ydym ni yn diolch i Dduw, a Thâd ein Harglwydd Jesu Ghrist yn oestadol trosoch gan weddio, er pan glywsom eich ffydd yn-Ghrist Jesu, a'ch cariad i'r holl sainct, er mwyn y gobaith yr hon sydd wedi ei dodi i gadw i chwi yn y nefoedd, am yr hon y clywsoch yn y blaen gan air gwirionedd yr Efengyl, yr hon sydd wedi dyfod attoch chwi, megis y mae yn yr holl fyd, ac sydd yn ffrwythlawn fel y mae yn eich plith chwithau, o'r dydd y clywsoch, ac y gwybuoch râs Duw mewn gwirionedd. Megis hefyd y dyscasoch gan Epaphras ein hannwyl gyd-was, yr hwn sydd trosoch chwi yn ffyddlon weinidog Christ. Yr hwn hefyd a amlygodd i ni eich cariad chwi yn yr Yspryd. Am hynny ninnau hefyd er y dydd y clywsom, nid ydym yn peidio a gweddio trosoch, a deisyf eich cyflawni â gwybodaeth ei ewyllys ef ym-mhôb doethineb, a deall ysprydol. Fel y rhodioch yn deilwng gan yr Arglwydd, gan ryglyddu bodd ym-mhôb dim, gan ddwyn ffrwyth ym-mhôb gweithred dda, a thyfu yngwybodaeth am Dduw. Wedi eich nerthu â phob nerth trwy ei ogoneddus gadernid ef i bob dyoddefgarwch, ac ymaros, gyd ag hyfrydwch, Gan ddiolch i'r Tâd yr hwn a'n gwnaeth yn gymmwys i gael rhan o etifeddiaeth y sainct yn y goleuni. Coloss.1.3.

### Yr Efengyl.

Matt.9.18. Ra yr oedd yr Iesu yn dywedyd wrth y bobl, wele daeth rhyw bennaeth, ac a'i haddolodd ef, gan ddywedyd, bu farw fy merch yr awrhon, eithr dyred a gosod dy law arni, a byw fydd hi. A'r Iesu a godes, ac a'i canlynodd ef, a'i ddiscyblon. Ac wele wraig yr hon y buase gwaed-lif arni ddeuddeng-mhlynedd, a ddaeth o'r tu cefn iddo, ac a gyffyrddodd ag ymyl ei wisc ef. Canys hi a ddywedase ynddi ei hun, os gallaf gyffwrdd a'i wisc ef yn unig, iâch fyddaf. A'r Iesu a drôdd, a phan ei gwelodd hi, a ddywedodd, ha ferch bydd gyssurus, dy ffydd a'th iachaodd: a'r wraig a iachawyd o'r awr honno allan. A phan ddaeth yr Iesu i dŷ'r pennaeth, a gweled y cerddorion, a'r dyrfa yn terfyscu, efe a ddywedodd wrthynt, ewch ymmaith, canys ni bu farw'r llangces, onid cyscu y mae hi: ac hwynt a'i gwatwarasant ef. Ac wedi bwrw y dyrfa allan, ef a aeth i mewn, ac a ymaflodd yn ei llaw hi, a'r llangces a gyfodes. A'r gair o hyn a aeth tros yr holl dir hwnnw.

## Y xxv. Sûl gwedi'r Drindod.

### Y Colect.

DEffro Arglwydd ni a attolygwn i ti ewyllyssion dy ffyddloniaid, fel y gallont drwy ddwyn aml ffrwyth gweithredoedd da, gael gennyt ti yn ehelaeth eu gobrwyo trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

### Yr Epistol.

Iere.23.5. Ele y dyddiau yn dyfod, medd yr Arglwydd, fel y cyfodwyf i Ddafydd flaguryn cyfiawn, yr hwn a deyrnasa yn frenhin, ac a lwydda, ac a wna farn, a chyfiawnder yn y tir. Yn ei ddyddiau

ef yr

ef yr achubir Iuda, ac Israel a breswylia yn ddiogel: a hyn fydd ei enw ar yr hwn y gelwir ef, YR ARGLWYDD ein cyfiawnder. Am hynny wele y dyddiau yn dyfod, medd yr Arglwydd, pryd na ddywedant mwyach, byw yw'r Arglwydd, yr hwn a ddûg feibion Israel i fynu o wlâd yr Aipht: eithr byw yw'r Arglwydd, yr hwn a ddûg i fynu, ac a dywysodd hâd tŷ Israel o dîr y gogledd, ac o bôb gwlad lle y bwriaswn i hwynt: a hwy a gânt arhos yn eu gwlad eu hun.

Yr Efengyl.



Na'r Iesu a ddyrchafodd ei lygaid, ac a ganfu fod tyrfa fawr yn dyfod atto ef, ac a ddywedodd wrth Philip: o ba le y prynwn ni fara fel y gallo y rhai hyn fwyta? (Ac efe a ddywedodd hyn i'w brofi ef, canys efe a wyddie beth a wnai) Philip a'i hattebodd ef, Gwerth dau cant ceiniog o fara nid yw ddigon iddynt hwy, fel y gallo pob vn o honynt gymmeryd ychydig. Vn o'i ddiscyblion a ddywedodd wrtho ef, Andreas brawd Simon Petr, Y mae ymma ryw fachgennyn yr hwn sydd ganddo bump torth haidd, a dau byscodyn: ond beth yw hynny rhwng cynnifer? A'r Iesu a ddywedodd, perwch i'r dynion eistedd i lawr. (ac yr oedd glas-wellt lawer yn y fan honno) A'r gwŷr a eisteddasant i lawr ynghylch pum mil o nifer. A'r Iesu a gymmerth y bara, ac a ddiolchodd, ac a'i rhannodd i'r discyblion, a'r discyblion i'r rhai oeddynt yn eistedd: felly hefyd o'r pyscod cymmeint ag a fynnasant. Ac wedi eu digoni hwynt, ef a ddywedodd wrth ei ddiscyblion, cesclwch y briwfwyd sydd yngweddill, fel na choller dim. Yna hwynt a'i casclasant, ac a lanwasant ddeu-ddeg basced â'r briwf-wyd

Io. 6. 5.

o'r pump torth haidd, a weddillasid gan y sawl a fwytasent. Yna y dynion pan welsant yr arwydd a wnaethe yr Jesu, a ddywedasant, yn ddiau hwn yw'r prophwyd yr hwn oedd ar ddyfod i'r byd.

Os bydd mwy o Suliau cyn Sul yr Adfent, i gyflawni hynny y cymmerir gwasanaeth rhai o'r Suliau a adawyd heibio rhwng yr Ystwyll, a Septuagesima.

## Sanct Andreas Apostol.

### Y Colect.

HOll-alluog Dduw, yr hwn a roddaist gyfryw râd i'th Apostol S. Andreas fel yr ufyddhaodd yn ebrwydd i alwad dy Fâb Jesu Grist, ac y dilynodd ef yn ddiriwyst: Caniadhâ i ni oll, wedi ein galw gan dy air bendigedic yn frau ymroddi o honom yn ufydd i ddilyn dy sanctaidd orchymynnion, trwy yr un-rhyw Jesu Grist ein Harglwydd.

### Yr Epistol.

Ro. 10. 9. 

Os cyffessi â'th enau yr Arglwydd Jesu, a chredu yn dy galon i Dduw i gyfodi ef o feirw, cadwedig fyddi. Canys â'r galon y credir i gyfiawnder, ac â'r genau y cyffessir i iechydwriaeth. Oblegid y mae'r scrythur yn dywedyd, Pwy bynnag a gredo ynddo ef, ni chywilyddir ef. Canys nid oes gwahaniaeth rhwng Iddew a Groegwr, oblegid yr hwn sydd Arglwydd ar bawb, sydd oludog i bawb a'r a alwant arno ef. Canys pwy bynnag a eilw ar enw'r Arglwydd, cadwedig fydd. Pa fodd gan hynny y galwant ar yr hwn ni chredasant ynddo? a pha fodd y credant yn yr hwn ni chlywsant am dano? a pha fodd y clywant heb bregethwr? a pha fodd y pregethant, oddieithr eu danfon?

dANSON ? megis y mae yn scrifennedig : Mor brydferth yw traed y rhai sydd yn efengylu tangnheddyf, ac yn efengylu pethau daionus. Eithr nid vfyddhausant hwy oll i'r Efengyl, canys y mae Esaias yn dywedyd, O Arglwydd, pwy a gredodd i'r hyn a glywyd gennym ni? Am hynny ffydd sydd o glywed, a chlywed trwy air Duw. Eithr meddaf, oni chlywsant hwy? Eu sŵn yn ddiau a aeth trôs yr holl ddaiar, a'u geiriau hyd terfynau y bŷd. Eithr meddaf, oni adnabu Israel Dduw? Yn gyntaf y mae Moses yn dywedyd, Mi a baraf i chwi wŷnfydu wrth genhedl nid yw genhedl, ac â chenhedl anghall y'ch digiaf. Ac Esaias sydd yn llyfasu, ac yn dywedyd, Caffwyd fi gan y rhai nid oeddynt yn fy-ngheisio, a gwnaed fi yn eglur i'r rhai nid oeddynt yn ymofyn am danaf. Ac wrth yr Israel y mae yn dywedyd, Yn hŷd y dŷdd yr estynnais fy-nwylo at bobl yn anghredu ac yn gwrth-ddywedyd.

## Yr Efengyl.



Fel yr oedd yr Iesu yn rhodio wrth fôr Galilêa, efe a ganfu ddau frodyr, Simon yr hwn a elwir Petr, ac Andreas ei frawd, yn bwrw rhwyd i'r môr (canys pyscod-wyr oeddynt.) Ac efe a ddywedodd wrthynt, deuwch ar fy ôl i, ac mi a'ch gwnâf yn byscod-wyr dynion. Ac hwy yn y fan gan adel y rhwydau, a'i dylynasant ef. Ac wedi ei fyned ef oddi yno, efe a welodd ddau frodyr eraill, Iaco fâb Zebedeus, ac Ioan ei frawd, mewn llong gŷd â Zebedeus eu tâd, yn cyweirio eu rhwydau, ac a'u galwodd hwy. Ac hwy yn ebrwydd gan adel y llong a'u tâd a'i canlynasant ef. Matt. 4.18.

## Y Colect.

HOll-alluog a bytth-fywiol Dduw, yr hwn, er mwy o sicrhawch y ffydd a oddefaist i'th sanctaidd Apostol Thomas ammau cyfodiad dy Fâb Jesu Grist: Caniadhâ i ni cyn berffeithied, ac mor gwbl ddiammau gredu yn dy Fâb Jesu Grist, fel na chervdder ein ffydd yn dy olwg byth: gwrando arnom, ô Arglwydd, drwy yr vn-rhyw Jesu Grist, i ba vn gyd â thi a'r Yspryd glân y bo holl anrhydedd a gogoniant yn oes oesoedd.

## Yr Epistol.

Eph.2.19.



Eithian nid ydych chwi mwyach yn ddieithraid, a dyfodiaid, ond yn gyddinasyddion â'r sainct, ac yn deulu Duw, wedi eich adailadau ar sail yr Apostolion, a'r Prophwydi, i'r hyn y mae Jesu Ghrist ei hun yn ben congl-faen, yn yr hwn y mae'r holl adeilad wedi ei chyd-gysylltu yn cynnyddu yn Deml sanctaidd yn yr Arglwydd, yn yr hwn y'ch cyd-adailadwyd chwithau yn breswylfa i Dduw trwy'r Yspryd.

## Yr Efengyl.

Io.20.24.



Homas, vn o'r deu-ddeg, yr hwn a elwid Didymus, nid oedd gŷd â hwynt pan ddaethe yr Jesu. A'r discyblon eraill a ddywedasant wrtho: ni a welsom yr Arglwydd. Yntef a ddywedodd wrthynt, oni welwyf yn ei ddwy-law ôl yr hoelion, a dodi fy mŷs yn ôl yr hoelion, a dodi fy llaw yn ei ystlys ef, ni chredaf fi. Ac ym-mhen yr wyth niwrnod yr oedd ei ddiscyblon ef i mewn drachefn, a Thomas gŷd â hwynt: Yr Jesu a

ddaeth

ddaeth, a'r drysau yn gaead, ac a safodd yn y canol, ac a ddywedodd, Tangnheddyf i chwi. Wedi hynny dywedodd wrth Thomas, moes ymma dy fys, a gwêl fy nwylo, ac estyn dy law, a dôd yn fy ystlys, ac na fydd anghredadyn, ond credadyn. A Thomas a attebodd, ac a ddywedodd wrtho, fy Arglwydd, a'm Duw. Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Thomas, am i ti fy-ngweled y credaist: bendigedig yw'r rhai ni welsant, ac a gredasant. A llawer hefyd o arwyddion eraill a wnaeth yr Iesu yngŵydd ei ddiscyblon, y rhai nid ŷnt scrifennedig yn y llyfr hwn. Eithr y pethau hyn a scrifennwyd fel y credoch mai'r Iesu yw'r Christ, Mâb Duw, ac i chwi gan gredu gael bywyd trwy ei enw ef.

## Troad Sanct Paul.

### Y Colect.

DUw yr hwn a ddyscaist yr holl fyd drwy bregeth dy wyn fydedic Apostol S. Paul: Ni a attolygwn i ti ganiadhâu i ni, (i'r rhai y mae ei ryfedd ymchwelfad ef mewn coffa) allu dilyn a chyflawni dy fendigedic ddyscedidiaeth, yr hon a adawodd efe yn scrifennedic er athrawiaeth Cristianogion, trwy Grist ein Harglwydd.

### Yr Epistol.



A Saul etto yn chwythu bygythiau, a chelanedd yn erbyn discyblon yr Arglwydd, a aeth at yr Arch-offeiriad, ac a ddeisyfodd lythyrau ganddo i Ddamascus at y Synagogau, fel o chae efe neb na gwyr, na gwragedd yn bod o'r ffordd hon, y galle efe eu dwyn yn rhwym i Jerusalem. Ac fe ddarfu (fel yr oedd efe ar ei daith) iddo ddyfod yn gyfagos i Ddamascus, ac fe a lewyrchodd o'i amgylch yn ddisymmwth oleuni o'r nef. Ac efe a syrthiodd ar y ddaear, ac a glybu lais yn dywedyd wrtho, Saul, Saul, Act.9.1.

pa

pa ham yr ydwyt yn fy erlid i? Yntef a ddywedodd, pwy wyt ti, Arglwydd? a'r Arglwydd a ddywedodd, my-fi yw Iesu yr hwn yr wyt ti yn ei erlid, anhawdd yw i ti wingo yn erbyn y swmbwl. Yntef yn crynu, ac yn ofni, a ddywedodd, Arglwydd, beth a fynni di i mi ei wneuthur? yr Arglwydd a ddywedodd wrtho yntef, cyfod, dôs i'r ddinas, ac fe a ddywedir i ti pa beth sydd raid i ti ei wneuthur. A'r gwyr y rhai oeddynt yn cyd-teithio ag ef, a safasant yn fynn, gan glywed y llais, ac heb weled neb. A Saul a gyfododd oddiar y ddaear, a phan agorodd efe ei lygaid, ni wele efe neb: eithr hwy a'i tywysasant ef erbyn ei law, ac a'i dugasant ef i mewn i Ddamascus. Ac efe a fu dri-diau heb weled, ac ni wnaeth na bwyta, nac yfed. Ac yr oedd yn Damascus ryw ddiscybl a'i enw Ananias, wrth yr hwn y dywedodd yr Arglwydd mewn gweledigaeth, Ananias: yntef a ddywedodd, wele fi, Arglwydd. A'r Arglwydd a ddywedodd wrtho, cyfod, a dôs i'r heol a elwir vnion, a chais yn-nhŷ Iudas vn a'i enw Saul o Tharsus: canys wele, y mae yn gweddio. Ac yntef a wele drwy weledigaeth ŵr a'i enw Ananias yn dyfod i mewn, ac yn dodi ei ddwylo arno fel y gwele eil-waith. Yna 'r attebodd Ananias, ô Arglwydd, clywais gan lawer am y gŵr hwnnw, faint o ddrygau a wnaeth efe i'th sainct di yn Ierusalem. Hefyd y mae ganddo ymma awdurdod oddi wrth yr Arch-offeiriaid i rwymo pawb a alwo ar dy enw. A dywedodd yr Arglwydd wrtho: dôs ymmaith, canys y mae hwn yn llestr etholedig i mi, i ddwyn fy enw gar bron y cenhedloedd, a brenhinoedd, a phlant Israel. Canys mi a ddangosaf iddo pa bethau eu maint y sydd raid iddo efeu dyoddef er mwyn fy enw i. Ac Ananias a aeth ymaith, ac a aeth i mewn i'r tŷ, ac a osododd ei ddwylo arno, ac a ddywedodd, y brawd Saul, yr Arglwydd

ydd Jesu a'm hanfonodd (yr hwn a ymddangosodd i ti ar y ffordd y daethost) fel y gwelech eilwaith, ac y'th lanwer â'r Yspryd glân. Ac yn ebrwydd descynnodd oddiwrth ei lygaid megis cenn, ac efe a gafodd ei olwg yn y man, ac efe a gyfododd, ac a fedyddiwyd. Ac wedi iddo gymmeryd bwyd efe a gryfhaodd. Yna y bu Saul ennyd o ddyddiau gyd â'r discyblion y rhai oeddynt yn Damascus. Ac efe yn ebrwydd a bregethodd Ghrist yn y Synagogau, mai efe yw Mâb Duw. A Phawb o'r a'i clybu ef a synnasant, ac a ddywedasant, ond dymma efe yr hwn oedd yn dyfetha y rhai a alwent ar yr enw hwn yn Jerusalē, ac a ddaeth ymma er mwyn hyn, sef i'w dwyn hwynt yn rhwym at yr Arch-offeiriaid? Eithr Saul a gynnyddodd fwy-fwy o nerth, ac a orchfygodd yr Iddewon y rhai oeddynt yn preswylio yn Damascus, gan gadarnhau mai hwn yw Christ.

Yr Efengyl.



Etr a attebodd, ac a ddywedodd wrth yr Jesu, wele, ny-ni a adawsom bob peth, ac a'th ddylynasom di: beth gan hynny fydd i ni? A'r Jesu a ddywedodd wrthynt, yn wir meddaf i chwi, pan eisteddo Mâb y dŷn ar orsedd ei ogoniant, chwy-chwi y rhai a'm dylynasoch i yn yr adenedigaeth, iê, chwy-chwi a eisteddwch ar ddeu-ddeg gorsedd, ac a fernwch ddeuddec-llwyth Israel. A phwy bynnag a wrthododd dai, neu frodyr, neu chwiorydd, neu dâd, neu fam, neu wraig, neu blant, neu diroedd, er mwyn fy enw i, efe a dderbyn y cant cymmaint, a bywyd tragywyddol a etifedda efe. Ond llawer o'r rhai blaenaf fyddant yn olaf, a'r rhai olaf yn flaenaf. Mat. 19.27.

Puredigaeth

Puredigaeth y Sanctes Mair forwyn.

Y Colect.

HOll-alluog a thragywyddol Dduw, attolygwn yn ufyddol i'th fawredd, megis ag ar gyfenw i heddyw y presentiwyd i'r deml dy un Mab yn sylwedd ein cnawd ni: felly Caniadhâ ein presentio i ti â meddyliau pur-lan, trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

Yr Epistol.

Yr un ac a osodwyd tros y Sûl.

Yr Efengyl.

Luc. 2. 22.



GWedi cyflawni dyddiau puredigaeth Mair, yn ôl deddf Moses, hwynt a'i dygasant ef i Jerusalem i'w gyflwyno i'r Arglwydd, (fel yr scrifennwyd yn neddf yr Arglwydd, Pôb gwr-ryw cyntaf-anedig a elwir yn sanctaidd i'r Arglwydd) ac i roddi offrwm, yn ôl yr hyn a ddywedir ynneddf yr Arglwydd, Pâr o durturod, neu ddau gyw colommen. Ac wele, yr oedd dŷn yn Jerusalem a'i enw Simeon, a'r dyn hwn oedd gyfiawn, a duwiol, yn disgwil am ddiddanwch yr Israel, a'r Yspryd glân oedd arno. Ac yr oeddid wedi ei rybuddio ef gan Dduw trwy'r Yspryd glân, na wele efe angeu cyn iddo weled Christ yr Arglwydd. Ac efe a ddaeth trwy yr Yspryd i'r Deml.

Sanct Matthias.

Y Colect.

HOll-alluog Dduw, yr hwn yn lle Judas fradwr a ddetholaist dy ffydd-lawn wâs Mathias i fod yn un o nifer dy ddeu-ddec Apostol. Caniadhâ fod dy Eglwys yn gadwedic oddi-wrth Apostolion ffeilsion, a bod ei threfnu a'i llywodraethu gan wîr a ffydd-lawn fugeiliaid, trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

Yr Epistol.

YN y dyddiau hynny Petr a gyfododd i fynu ynghanol y discyblon, ac a ddywedodd, (ac yr oedd o rifedi pobl yn yr vn-lle ynghylch vgain a chant) Hawyr, frodyr, yr oedd yn rhaid cyflawni yr scrythur ymma, yr hon a ragddywedodd yr Yspryd glân trwy enau Dafydd am Judas, yr hwn a fu flaenor i'r rhai a ddaliasant yr Jesu. Canys cyfrifwyd ef yn ein plith ni, ac efe a gawse ran o'r weinidogaeth hon. Ac efe a feddiannodd faes â gobrwy anwiredd, ac wedi ymgrogi, efe a dorrodd yn ddwy-ran yn ei ganol, a'i holl ymyscaroedd a dywalltwyd allan. Ac aeth hyn yn eglur i holl brefswylwyr Jerusalem, hyd oni elwir y maes hwn yn eu priodol dafod-iaith hwy, Aceldama, hyn yw, maes y gwaed. Canys scrifennedig yw yn llyfr y Psalmau, Bydded ei drigfan ef yn ddiffaeth wch, ac na bydded a drigo ynddi, a chymmered arall ei escobaeth ef. Am hynny y mae yn rhaid (o'r gwŷr a fuant yn cydymdaith â ni yr holl amser yr aeth yr Arglwydd Jesu i mewn ac allan yn ein plith ni, gan ddechreu o fedydd Joan, hyd y dŷdd yn yr hwn y dyrchafwyd ef oddiwrthym) bôd vn gŷd â ni yn dyst o'i ad-gyfodiad ef. Ac hwy a osodasant ddau gar bron, Joseph yr hwn a elwid Barsabas, ac a gyfenwid Justus, a Matthias. A chan weddio hwy a ddywedasant, Ty-di Arglwydd yr hwn a ŵyddost galonnau pawb, dangos pa vn o'r ddau hyn a etholaist i dderbyn swydd y weinidogaeth hon, a'r Apostoliaeth, o'r hon y troseddodd Judas i fyned i'w le ei hun. Ac hwy a fwriasant eu coel-brennau, ac ar Matthias y syrthiodd y coel-bren, ac efe a gyfrifwyd gŷd â'r vn Apostol ar ddêg. Act. 1. 15.

Yr Efengyl.

Yr Efengyl.

Matt.11.25. N yr amser hynny yr attebodd yr Iesu, ac y dywedodd, I ti yr ydwyf yn diolch ô Dâd, Arglwydd nef a daear, am i ti guddio y pethau hyn rhag y doethion a'r rhai call, a'u datcuddio o honot i'r rhai bychain. Iê, ô Dâd, canys felly y rhyngodd bodd i ti. Pob peth a a roddwyd i mi gan fy Nhâd, ac nid edwyn neb y Mab, eithr y Tâd, ac nid edwyn neb y Tâd, ond y Mâb, a'r hwn a ewyllysio'r Mâb ei ddatcuddio iddo. Dewch attaf i bawb a'r sydd yn flinderog, ac yn llwythog, ac mi a esmwythâf arnoch. Cymmerwch fy iau arnoch, a dyscwch gennif, canys llaryaidd wyf, a gostyngedig o galon: a chwi a gewch orphywysdra i'ch eneidiau. Canys fy iau sydd esmwyth a'm baich sydd yscafn.

Cyfarchiad Mair Wyryf.

Y Colect.

NI a attolygwn i ti ô Arglwydd dywallt dy râd yn ein calonnau, fel, megis ag y gwyddom gnawdoliaeth Crist dy Fab trwy gênadwri yr Angel, felly trwy ei grôg a'i ddioddefaint, bod i ni gael ein dwyn i'w adgyfodiad ef, trwy yr vn-rhyw Iesu Grist ein &c.

Yr Epistol.

Esa.7.10. R Arglwydd a chwanegodd lefaru wrth Ahaz, gan ddywedyd, Gofyn it arwydd gan yr Arglwydd dy Dduw: cais o'r dyfnder, neu o'r vchelder oddi-arnodd. Yna y dywedodd Ahaz, ni ofynnaf, ac ni themptiaf yr Arglwydd. I dywedodd yntef, gwrandewch yr awrhon, tŷ Ddafydd, ai bychan gennwch flino dynion, oni flinoch hefyd fy Nuw? Am hynny yr Arglwydd ei hun a ddyry i chwi arwydd: Wele, y forwyn a fydd feichiog, ac hi a escor ar fâb, a thi a elwi ei enw ef, Immanuel. Ymenyn a mêl a fwyty efe, hyd oni fedro efe ymwrthod â'r drwg, ac ethol y da.

Yr

Yr Efengyl.

AC yn y chweched mîs anfonwyd yr angel Gabriel oddiwrth Dduw i ddinas yn Galilêa, a'i henw Nazareth, at forwyn wedi ei dyweddio i ŵr a'i enw Ioseph o dŷ Ddafydd, ac enw'r forwyn oedd Mair. A'r angel a aeth i mewn atti, ac a ddywedodd, Hanphych well yr hon a gefaist râs, yr Arglwydd sydd gŷd â thi, bendigaid wyt ti ymmhlith gwragedd. Pan welodd hithe ef, brawychu a wnaeth wrth ei ymadrodd ef, a meddwl pa fath gyfarch oedd hwn. A dywedodd yr angel wrthi, nac ofna, Mair, canys ti a gefaist râs ger bron Duw. Ac wele, ti a gei feichiogi yn dy grôth, ac escori ar Fâb, ac a elwi ei enw ef Iesu. Hwn fydd mawr, ac a elwir yn Fâb y Goruchaf, ac iddo y rhŷdd yr Arglwydd Dduw orsedfa ei dâd Dafydd. Ac efe a deyrnasa ar dŷ Iacob yn dragywydd, ac ar ei frenhiniaeth ni bydd diwedd. A Mair a ddywedodd wrth yr Angel, pa fodd y bydd hyn, gan nad adwen i ŵr. A'r angel a attebodd, ac a ddywedodd wrthi, yr Yspryd glân a ddaw arnat ti, a nerth y Goruchaf a'th gyscoda di: am hynny hefyd y peth sanctaidd a aner o honot, a elwir yn Fâb Duw. Ac wele, Elizabeth dy gares, y mae hithe wedi beichiogi ar fâb yn ei henaint, a hwn yw'r chweched mîs iddi hi, yr hon a elwid yn ammhlantadwy. Canys gŷd â Duw ni bydd dim yn am-mhossibl. A dywedodd Mair, wele wasanaethyddes yr Arglwydd: bydded i mi yn ôl dy air. A'r angel a aeth ymmaith oddiwrthi hi. Luc.1.26.

Dydd S. Marc yr Efangel-wr.

Y Colect.

HOll-alluog Dduw, yr hwn a ddyscaist dy sanctaidd Eglwys â nefol athrawiaeth dy Efangel-wr S. Marc, dot ti i ni râd, na byddom fel plant, ymchweledic gan bob awel o wag ddysceidiaeth: eithr

bod

bod i ni yn ffyrf ymgadarnhâu yng-wirionedd dylân Efangel, trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

Yr Epistol.

Eph.4.7.  I Bôb vn o honom y rhoed grâs yn ôl mesur dawn Christ. Am hynny y mae yn dywedyd, Pan ddyrchafodd i'r vchelder, efe a gaethgludodd gaethiwed, ac a roddes roddion i ddynion. Eithr, Efe a ddyrchafodd, pa beth yw ond darfod iddo ddescyn yn gyntaf i barthau isaf y ddaear. Yr hwn a ddescynnodd yw'r hwn a escynnodd hefyd gorûwch yr holl nefoedd, fel y cyflawne efe bôb peth. Efe gan hynny a roddes rai yn Apostolion, a rhai yn brophwydi, a rhai yn Efengyl-wŷr, a rhai yn fugailiaid, ac yn athrawon, i grynhoi y sainct i waith y weinidogaeth, i adeiladaeth corph Christ, hyd oni ymgyfarfyddom oll, yn vndeb ffŷdd, a gŵybodaeth Mâb Duw, yn ŵr perffaith at fesur oedran cyflawnder Christ: fel na byddom yn blantos mwyach, yn bwhwmman, ac yn ein harwain oddi amgylch â phob awel dysceidiaeth mewn cyfrwysdra dynion a hocced, i gynllwyn twyll. Eithr gan ddylyn gwirionedd mewn cariad, cynnyddwn iddo ef ymmhôb peth, yr hwn yw'r pen, sef Christ. O'r hwn y mae'r holl gorph wedi ei gyd-ymgynnull, a'i gyd-gyssylltu trwy bob cymmal, yr hwn sydd yn gweini llyniaeth yn ôl y gweithrediad y sydd ymmesur pob rhan, yn peri cynnydd y corph, i'w adeiladaeth ei hun mewn cariad.

Yr Efengyl.

Io.15.1.  MY-fi yw'r wîr winwydden, a'm Tâd yw'r llafurwr. Pob cangen heb ddwyn ffrwyth ynof fi, y mae efe yn ei thynnu ymmaith: a phob vn a ddygo ffrwyth, efe a'i glanhâ fel y dygo fwy o ffrwyth.

Bellach yr ydych chwi yn lân gan y gair a leferais i wrthych. Arhoswch ynof fi, a mi ynoch chwi: megis na all y gangen ddwyn ffrwyth o honi ei hun, onid erys yn y win-wydden, felly ni ellwch chwithau, onid arhoswch ynof fi. Myfi yw'r win-wyddē, chwychwi yw'r canghennau: yr hwn a arhoso ynof fi, a minne ynddo yntef, hwnnw a ddŵg ffrwyth lawer: canys hebof fi ni ellwch chwi wneuthur dim, os neb nid erys ynof fi, ef a deflir allan fel cangen, ac a wywa: a rhai a'u casclant, ac a'u bwriant yn tân, ac a loscir. Os arhoswch ynof fi, ac os erys fyngeiriau ynoch chwi, beth bynnag a ewyllysiwch, gofynnwch, ac fe a'i gwneir i chwi. Yn hyn y gogoneddir fy-Nhâd, ar ddwyn o honoch ffrwyth lawer, a'ch gwneuthur yn ddiscyblon i mi. Fel y carodd y Tâd fi, felly cerais i chwithau, arhoswch yn fy-nghariad. Os cedwch fy-ngorchymynion, chwi a arhoswch yn fy-nghariad: fel y cedwais i orchymynion fy-Nhâd, ac yr wyf yn arhos yn ei gariad ef. Hyn a ddywedais wrthych fel yr arhoso fy llawenydd ynoch, a bod o'ch llawenydd yn gyflawn.

## S. Philip ac Iaco Apostolion.

### Y Colect.

HOll-alluog Dduw, yr hwn dy wir adnabod yw bywyd tragywyddol: Caniadhâ i ni berffaith adnabod dy Fâb Iesu Grist i fod yn ffordd, yn wirionedd, ac yn fywyd megis y dyscaist i S. Philip a'r apostolion eraill: trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

### Yr Epistol.

IAco gwasanaethwr Duw, a'r Arglwydd Iesu Ghrist at y deuddec-llwyth gwascaredig, annerch. Cymmerwch yn lle dirfawr lawe- Iaco.1.1.

nydd, fy-mrodyr, pan syrthioch mewn amryw brofedigaethau, gan wybod y pair profedigaeth eich ffydd chwi ammynedd. Ammynedd hefyd caffed ei pherffaith waith, fel y galloch fod yn berffaith ac yn gyfan, heb ddim diffyg. O bydd ar neb o honoch eisieu doethineb, ceisied gan Dduw, yr hwn sydd yn rhoddi yn haelionus i bawb, ac nis dannod i neb, ac fe a'i rhoddir iddo ef. Eithr ceisied mewn ffydd heb amheu dim: canys y neb a amheuo, cyffelyb yw i donn o'r môr, a chwelir ac a deflir gan y gwynt. Ac na feddylied y dyn hwnnw y caiff ddim gan yr Arglwydd. Gwr dau-ddyblyg ei feddwl, anwadal yw ynghwbl o'i ffyrdd. Y brawd o radd isel, llawenyched yn ei oruchafiaeth: a'r cyfoethog yn ei ostyngedigaeth: canys megis blodeuyn y llysieuyn y diflanna efe. Oblegid fel pan gyfododd yr haul gyd â gwres, yna y gwywodd y llysieuyn, ac y cwympodd ei flodeuyn, ac y collodd tegwch ei bryd ef: felly hefyd y diflanna'r cyfoethog yn ei ffyrdd. Gwyn ei fyd y gwr a oddef brofedigaeth, canys pan fyddo profedig, efe a gaiff goron y bywyd, yr hon a addawodd yr Arglwydd i'r rhai a'i carant ef.

## Yr Efengyl.

Io.14.1. 'R Iesu a ddywedodd wrth ei ddiscyblon, Na thralloder eich calō, yr ydych yn credu yn Nuw, credwch ynofi hefyd. Ynnhŷ fy-Nhâd y mae llawer o drigfānau, a phe amgen mi a ddywedaswn i chwi, yr wyf fi yn myned i baratoi lle i chwi. A phan elwyf, a pharotoi lle i chwi, mi a ddeuaf drachefn, ac a'ch cymmeraf attaf fy hun: fel lle yr wyf fi, y byddoch chwithau hefyd. A chwi a wyddoch i ba le yr wyf fi yn myned, a'r ffordd a wyddoch. Dywedodd

dodd Thomas wrtho, ô Arglwydd, ni wyddom ni i ba le'r aei di, a pha wedd y gallwn ni wybod y ffordd? Yr Iesu a ddywedodd wrtho ef, My-fi yw'r ffordd, a'r gwirionedd, a'r bywyd: nid yw neb yn dyfod at y Tâd, ond trwofi. Ped adnabasech fi, fy-Nhâd hefyd a adnabasech: ac o hyn allan yr adwaenoch ef, a chwi a'i gwelsoch ef. Dywedodd Philip wrtho: ô Arglwydd, dangos i ni y Tâd, a digon yw i ni hynny. Yr Iesu a ddywedodd, a ydwyf gyhyd o amser gŷd a chwi, ac ni anabuost fi? Philip, y neb a'm gwelodd i, a welodd y Tâd: a pha wedd y dywedi dangos i ni y Tâd? Onid wyt yn credu fy môd i yn y Tâd, a bod y Tâd ynof-inne? y geiriau y rhai yr wyf fi yn eu traethu wrthych, nid o honof fy hun yr wyf yn eu traethu, ond y Tâd yr hwn sydd yn arhos ynof, efe sydd yn gwneuthur y gweithredoedd. Credwch fi, fy môd i yn y Tâd, a bod y Tâd ynof-inne: ac ond ê, credwch fi er mwyn y gweithredoedd. Yn wîr, yn wîr, meddaf i chwi, yr hwn a gredo ynofi, y gweithredoedd yr wyf fi yn eu gwneuthur, yntef a'u gwnâ, a rhai mwy nâ'r rhai hyn a wnâ efe: canys at fy-Nhâd yr wyf fi yn myned. A pha beth bynnag a ofynnoch yn fy enw, hynny a wnâf, fel y gogonedder y Tâd yn y Mâb. Os gofynnwch ddim yn fy enw i, mi a'i gwnâf.

## S. Barnabas Apostol.

### Y Colect.

Holl-alluog Arglwydd yr hwn a wiscaist dy sanctaidd Apostol Barnabas â rhagorawl roddion dy Yspryd glân, Na âd i ni fod yn ddeffygiol ôth liosawg ddoniau, nac etto o râd iw harferu hwynt i'th anrhydedd di a'th ogoniant; trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

Yr Epiſtol.

Act.11.22.



Daeth y gair o'r pethau hyn i gluſtiau yr eglwys yr hon oedd yn Jeruſalem, a hwy a anfonaſāt Barnabas i fyned hyd Antiochia. Yr hwn pan ddaeth, a gweled grâs Duw, a fu lawen ganddo, ac a gynghorodd bawb, trwy lwyrfryd calon i barhau yn yr Arglwydd. Canys gŵr da oedd efe, yn llawn o'r Yspryd glân, a ffydd: a llawer o bobl a chwanegwyd i'r Arglwydd. Yna 'r aeth Barnabas ymmaith i Tharſus i geiſio Saul, ac wedi iddo ei gael, efe a'i dûg i Antiochia. Darfu hefyd iddynt flwyddyn gyfan gynniwer yn yr eglwys honno, a dyſcu tyrfa fawr: a'r diſcyblon yn Antiochia a alwyd yn Griſtianogion yn gyntaf. Ac yn y dyddiau hynny daeth prophwydi o Jeruſalem i Antiochia. Ac vn o honynt a gyfododd a'i enw Agabus, ac a arwyddocaodd drwy yr Yspryd, y bydde newyn mawr dros yr holl fyd, yr hyn hefyd a fu tan Claudius Cêſar. Yna pob vn o'r diſcyblon yn ôl ei allu, a fwriadaſant anfon cymmorth i'r brodyr, y rhai oeddynt yn preſwylio yn Judêa. Yr hyn beth hefyd a wnaethant, gan ddanfon at yr henuriaid drwy

Io.15.12.

law Barnabas a Saul.

Yr Efengyl.



Dymma fy-ngorchymyn i, ar i chwi garu ei gilydd fel y cerais i chwi. Cariad mwy nâ hyn nid oes gan neb, na dodi o vn ei einioes tros ei gyfeillion. Chwychwi fydd wch fy-nghyfeillion, os gwnewch pa bethau bynnag yr wyf fi yn eu gorchymyn i chwi. Nid ydwyf yn eich galw yn weiſion mwyach, am na's gŵyr gwâs beth y mae ei Arglwydd yn ei wneuthur, ond mi a'ch gelwais chwi yn gyfeillon, canys pob peth a'r a glywais gan fy-Nhâd, a

hyspyſais

hyspysais i chwi. Nid chwy-chwi a'm dewisasoch i, ond my-fi a'ch dewisais chwi, ac a'ch ordeiniais i fyned a dwyn ffrwyth, a bod i'ch ffrwyth aros, megis pa beth bynnag a ofynnoch gan y Tâd yn fy enw i, y rhoddo efe i chwi.

## S. Ioan Fedyddiwr.

### Y Colect.

HOll-alluog Dduw, o ragluniaeth pa vn y ganed yn rhyfedd dy wâs Ioan Fedyddiwr, ac yr anfonwyd ef i arlwyo ffordd dy Fâb Iesu Grist ein Iachawdur, gan bregethu edifeirwch: gwna i ni felly ddilyn ei ddysceidiaeth a'i sanctaidd fywyd ef, fel y gallom wîr edifarhau wrth ei bregeth ef, ac ar ôl ei esampl yn wastadol draethu y gwirionedd, yn hyderus geryddu y camwedd, ac yn vfydd ddioddef er mwyn y gwirionedd, trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

### Yr Epistol.



Cysurwch, cysurwch fy-mhobl medd eich Duw. Dywedwch wrth fodd Ierusalem, llefwch wrthi hi gyflawni ei milwriaeth: canys maddeuwyd ei hanwiredd, o herwydd derbyniodd o law 'r Arglwydd yn ddau ddyblyg am ei holl bechodau. Canys llêf sydd yn llefain yn yr ynialwch, parotowch ffordd yr Arglwydd, vniawnwch lwybrau ein Duw ni yn y diffaethwch. Pob pant a gyfodir a phob mynydd a bryn a ostyngir, y gŵyr a fydd yn vniawn, a'r anwastad yn wastadedd. A gogoniant yr Arglwydd a ymeglura, fel y cyd-welo pob cnawd mai genau 'r Arglwydd a lefarodd hyn. Llef a ddywedodd wrth y prophwyd, gwaedda di, yntef a ddywedodd, beth a waeddaf? Bod pob cnawd yn wellt, a'i holl odidawgrwydd fel blodeuyn y maes. Gŵywodd y gwelltyn, Esa.40.1.

 a syr-

a syrthiodd y blodeuyn, canys Yspryd yr Arglwydd a chwythodd arno: gwellt yn ddiau yw'r bobl. Gwywodd y gwelltyn, syrthiodd y blodeuyn, a gair ein Duw ni a saif byth. Dring rhagot yr Efengyles Sion i fynydd vchel, dyrchafa dithe dy lef trwy nerth, ô Efangyles Jerusalem: dyrchafa, nac ofna: dywet wrth ddinasoedd Juda, wele eich Duw chwi. Wele, 'r Arglwydd Dduw a ddaw yn erbyn y cadarn, a'i fraich a lywodraetha arno ef: wele ei obrwy gyd ag ef, a'i waith o'i flaen. Fel bugail y portha efe ei braidd, â i'fraich y cascl ei wyn, ac a'i dwg yn ei fonwes, ac a goledda y mammogiaid.

Yr Efengyl.

Luc. 1. 57.  Chyflawn wyd y tymp i Elizabeth i escor o honi, a hi a escorodd ar fâb. A chlybu ei chymydogiō, a'i chenedl hi sawrhau o'r Arglwydd ei drugaredd arni, a hwynt a gyd-lawenychasant â hi. A bu ar yr wythfedd dydd, ddyfod o honynt i enwaedu ar y bachgennyn, ac hwy a'i galwasant ef yn ôl henw ei dâd, yn Zacharias. A'i fam ef a attebodd, ac a ddywedodd, nid felly, eithr ei enw fydd Joan. Hwythau a ddywedasant wrthi, nid oes neb o'th genedl a elwir ar yr henw hwn. Ac hwy a amneidiasant ar ei dâd, pa fodd y mynne efe ei henwi ef. Ac yntef wedi iddo alw am argraph-lech, a scrifennodd gan ddywedyd, Joan yw ei enw ef, a rhyfeddu a wnaethant oll. Ac agorwyd ei enau ef yn ebrwydd, a'i dafod, ac ef a lefarodd, gan fendithio Duw. A daeth ofn ar eu holl gymydogion hwynt, a thrwy holl fynydd-dir Judea cyhoeddwyd y geiriau hyn oll. A phawb a'r a'u clywsant a'u gosodasant yn eu calōnau, gan ddywedyd, beth fydd y bachgennyn hwn? A llaw 'r Arglwydd oedd gyd ag ef. A'i dâd Zacharias a gyflawnwyd o'r Yspryd glân, ac a brophwydodd, gan ddywedyd:

dyd: Bendigedig fyddo Arglwydd Dduw Israel, canys efe a ymwelodd, ac a brynodd ei bobl. Ac efe a ddyrchafodd nerth iechydwriaeth i ni, yn nhŷ Ddafydd ei wasanaeth-wr, megis y dywedodd trwy enau ei sanctaidd brophwydi, y rhai oeddynt erioed, yr anfone efe i ni iechydwriaeth oddiwrth ein gelynion, ac o law ein holl gaseion, Gan wneuthur trugaredd â'n tadau, a chofio ei sanctiaidd gyfammod, a'r llw a dyngodd efe i'n tâd Abraham, ar ei roddi i ni, fel bod i ni yn ddiofn wedi ein rhyddhau o ddwylo ein gelynion ei wasanaethu ef mewn sancteiddrwydd a chyfiawnder ger ei fron ef holl ddyddiau ein bywyd. A thithe fachgēnyn a elwir yn brophwyd i'r Goruchaf: canys ti a aei o flaen wyneb yr Arglwydd i barotoi ei ffyrdd ef, i roddi gwybodaeth iechydwriaeth i'w bobl ef trwy faddeuant eu pechodau, o herwydd tiriondab trugaredd ein Duw, trwy 'r hon yr ymwelodd â ni godiad haul o'r uchelder: i lewyrchu i'r rhai sy yn eistedd mewn tywyllwch, a chyscod angeu, i gyfeirio ein traed i ffordd dangnheddyf. A'r bachgennyn a gynnyddodd, ac a gryfhawyd yn yr yspryd, ac a fu yn y diffaethwch hyd y dŷdd yr ymddangosodd efe i'r Israel.

## S. Petr Apostol.

### Y Colect.

Holl-alluog Dduw, yr hwn drwy dy Fâb Iesu Grist a roddaist i'th Apostol S. Petr laweroedd o ddonniau arbennig, ac a orchymynnaist iddo o ddifrif borthi dy ddefaid: gwnâ, ni a attolygwn i ti i'r holl Escobion, a'r Bugeiliaid yn ddyfal bregethu dy sanctaidd air, ac i'r bobl yn ufyddgar ddilyn yr unrhyw, fel y byddo iddynt hwy allu derbyn coron y gogoniant tragywyddol, trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

Yr Epistol.

Act.12.1.



Prŷd hynny estynnodd Herod frenhin
ei ddwylo i orthrymmu rhai o'r eglwy-
ys. Ac efe a laddodd Iaco brawd Ioan
â'r cleddyf. A phan welodd fod yn dda
gan yr Iddewō hyn, ef a chwanegodd
ddala Petr hefyd: (a dyddiau y bara
croyw ydoedd hi) yr hwn a ddalyodd efe, ac a osododd
yngharchar, ac a'i rhoddodd at bedwar pedwar o fil-
wyr i'w gadw, gan feddwl ar ôl y Pâsc ei ddwyn ef
allan i'r bobl. Ac felly cadwyd Petr yn y carchar, a
gweddi ddyfal a wnaed gā yr eglwys at Dduw dro-
sto ef. A phan oedd Herod a'i fryd ar ei ddwyn ef allā,
y nos honno yr oedd Petr yn cyscu rhwng dau filwyr,
wedi ei rwymo â dwy gadwyn, a'r gwil-wŷr oeddynt
yn cadw y carchar gyferbyn a'r drŵs. Ac wele, angel
yr Arglwydd a ddaeth ar eu huchaf, a llewyrch a ole-
uodd yn y carchar: ac efe a darawodd Betr ar ei yst-
lys, ac a'i cyfododd ef, gan ddywedyd: cyfod yn fuan,
a'r cadwyni a syrthiasāt oddi-wrth ei ddwylo ef. A dy-
wedodd yr angel wrtho, ymwregysa, a chae dy esgidi-
au, ac felly y gwnaeth efe. Ac efe a ddywedodd wrtho,
gwîsc dy ddillad am danat, a chanlyn fi. A Phetr a
ddaeth allan, ac a'i canlynodd ef, ac ni's gwybu mai
gwîr oedd y peth a wnaethid gan yr angel, ond efe
a dybiodd mai gweled gweledigaeth yr oedd efe.
Eithr wedi myned o honynt heb law y gyntaf a'r ail
wiliadwriaeth, hwy a ddaethant i'r porth hayarn,
yr hwn sydd yn arwain i'r ddinas, yr hwn a ymago-
rodd iddynt o'i waith ei hun: ac wedi eu myned allā,
hwy a aethant ar hyd vn heol, a'r angel a aeth yn e-
brwydd ymaith oddiwrtho. A Phetr wedi dyfod atto
ei hū a ddywedodd, yn awr y gwn yn wir i'r Arglw-
ydd anfon ei angel, a'm gwared i allan o law He-
rod, ac oddiwrth holl ddisgwiliau pobl yr Iddewon.

Yr

Yr Efengyl.


Wedi dyfod yr Iesu i dueddau Cêsaria Philip, efe a ofynnodd i'w ddiscyblon, gan ddywedyd, Pwy y mae dynion yn dywedyd fy môd i Mâb y dŷn? Ac hwy a ddywedasant, rhai sy yn dywedyd mai Ioan fedyddiwr, a rhai mai Elias, ac eraill mai Ieremias, neu vn o'r prophwydi. Ac efe a ddywedodd wrthynt, pwy meddwch chwi, ydwyfi? Yna Simon Petr a attebodd, ac a ddywedodd, ti ydwyt Christ, Mâb y Duw byw. A'r Iesu a attebodd, ac a ddywedodd wrtho, gwyn dy fŷd di Simon mâb Ionas, canys nid cig a gwaed a ddatcuddiodd hyn i ti, eithr fy-Nhâd yr hwn sydd yn y nefoedd. Yr ydwyfi hefyd yn dywedyd i ti, mai ti ydwyt Petr, ac ar y graig hon yr adeiladaf fy Eglwys, a phyrth vffern ni's gorchfygant hi. A mi a roddaf i ti agoriadau teyrnas nefoedd, a pha beth bynnag a rwymech ar y ddaear a fydd rhwymedig yn y nefoedd: a pha beth bynnag a rhyddhaech ar y ddaear, fydd wedi ei ryddhau yn y nefoedd. Mat.16.13.

S. Iaco Apostol.

Y Colect.

CAniatâ ô drugarog Dduw, megis y bu i'th wynfydedic Apostol sanct Iaco (gan ymado a'i Dâd, a chwbl ar oedd eiddo ef) yn ebrwydd vfyddhau i alwad dy Fâb Iesu Grist, a'i ddilyn: felly i ninnau gan ymwrthod â bydol ac â chnawdol ewyllysion, yn dragywydd fod yn barod i ddilyn dy orchymynnion, trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

Yr Epistol.


YN y dyddiau hynny daeth prophwydi o Ierusalem i Antiochia. Ac vn o honynt a gyfododd a'i enw Agabus, ac a arwyddoccaodd Act.11.27.

drwy

drwy yr Yspryd, y bydde newyn mawr dros yr holl fyd, yr hyn hefyd a fu tan Claudius Cêsar. Yna pob vn o'r discyblon yn ôl ei allu a fwriadasant anfon cymmorth i'r brodyr, y rhai oeddynt yn preswylio yn Judêa. Yr hyn beth hefyd a wnaethant, gan ddanfon at yr henuriaid drwy law Barnabas a Saul. A'r pryd hynny estynnodd Herod frenhin ei ddwylo i orthrymmu rhai o'r eglwys. Ac efe a laddodd Jaco brawd Joan â'r cleddyf. A phan welodd fod yn dda gan yr Iddewon hyn, ef a chwanegodd ddala Petr hefyd.

Yr Efengyl.

Mat, 20.20.



Na y daeth mam meibion Zebedeus atto ynghŷd â'i meibion, gan addoli, a deisyf rhyw beth ganddo ef. Ac efe a ddywedodd wrthi, pa beth a fynni? y hi a ddywedodd wrtho, dywed am gael o'm dau fáb hyn eistedd y naill ar dy law ddehau, a'r llall ar dy law asswy yn dy frenhiniaeth. A'r Jesu a attebodd, ac a ddywedodd, ni wyddoch beth yr ydych yn ei geisio, a ellwch chwi yfed o'r cwppan yr ydwyf fi yn yfed o hono? a'ch bedyddio â'r bedydd y bedyddir fi? dywedasât wrtho, gallwn. Ac efe a ddywedodd wrthynt, diogel yr yfwch o'm cwppan, ac y'ch bedyddir â'r bedydd y'm bedyddir i ag ef, eithr eistedd ar fy llaw ddehau, ac ar fy llaw asswy, nid i mi y mae rhoi, eithr i'r sawl y darparwyd gan fy-Nhâd y rhoddir. A phan glybu y deg hyn hwy fuant anfodlon i'r ddau frodyr. A'r Jesu a'u galwodd hwynt atto, ac a ddywedodd, gŵyddoch fod pennaethiaid y cenhedloedd yn tra-arglwyddiaethu arnynt hwy, a'r gwŷr mawrion yn arfer awdurdod arnynt hwy. Eithr nid felly y bydd yn eich plith chwi, ond pwy bynnag a fynno fod yn fawr yn eich plith chwi, bydded yn weinidog i chwi. A phwy bynnag

nag a fynnuo fôd yn bennaf yn eich plith, bydded eich gwâs chwi. ni ddaeth Mâb y dŷn i'w wasanaethu, ond i wasanaethu, ac i roddi ei einioes yn brid-werth tros lawer.

## S. Bartholomeus Apostôl.

### Y Colect.

Holl-alluog a byth-barhaus Dduw, yr hwn a roddaist râd i'th Apostol Bartholomeus i wir gredu, ac i bregethu dy air. Nyni a attolygwn i ti geniadhau i'th Eglwys gwbl garu yr hyn a gredodd efe, a phregethu yr hyn a ddyscwyd ganddo, trwy Jesu Grist ein Harglwydd.

### Yr Epistol.

Trwy ddwylo yr Apostolion y gwnaed arwyddion a rhyfeddodau lawer ym mhlith y bobl. Ac yr oeddynt oll yn gytun ymmhorth Salomon. Ond ni feiddie neb o'r lleill ymgyssylltu â hwynt, eithr y bobl oedd yn eu mawrhau. A lliaws y rhai a gredasant yn yr Arglwydd yn wŷr ac yn wragedd a gynnyddasant fwy-fwy. Hyd oni ddygent y cleifion i'r heolydd, a'u gosod mewn gwelâu a glythau, fel y cyscode cyscod Petr rai o honynt pan ddele efe heibio. A lliaws a ddaeth hefyd ynghŷd o'r dinasoedd cyfagos i Jerusalem, gan ddwyn rhai cleifion, a rhai a drallodid gan yspryd ion aflan, y rhai a iachawyd oll. Act. 5. 12.

### Yr Efengyl.

A Chyfododd ymryson yn eu plith, pwy o honynt a dybygid ei fod yn fwyaf. Ac ef a ddywedodd wrthynt, y mae brenhinoedd y cenhedloedd yn arglwyddiaethu arnynt, a'r rhai sy mewn awdurdod ar- Luc. 22. 24.

arnynt a elwir yn bendefigion. Ond na fyddwch chwi felly: eithr y mwyaf yn eich plith, bydded megis y lleiaf, a'r llywydd megis yr hwn sydd yn gweini. Canys pwy vn fwyaf ai'r hwn sydd yn eistedd ar y bwrdd, ai'r hwn sydd yn gwasanaethu? ond mwyaf yr hwn sydd yn eistedd ar y bwrdd? eithr yr ydwyf fi yn eich mysc fel vn yn gwasanaethu. A chwy-chwi yw y rhai a arhosasoch gyda mi yn fy-mhrofedigaethau. Ac yr wyf fi yn ordeinio i chwi deyrnas, megis yr ordeiniodd fy-Nhâd i minne, fel y bwytaoch, ac yr yfoch ar fy mwrdd i yn fy-nheyrnas, ac yr eisteddoch ar orseddfeuydd yn barnu deudeg llwyth Israel.

## S.Matthew Apostol.

### Y Colect.

HOll-alluog Dduw yr hwn drwy dy wynfydedic Fâb a elwaist Fathew o'r doll-fa, i fod yn Apostol, ac Efangylwr: Caniadhâ i ni râd i ymwrthod â holl gybyddus ddeisyfion, ac â thra-chwantus serch golud bydol, ac i ddilyn dy ddywededic Fab Iesu Grist, yr hwn sydd yn byw, ac yn teyrnasu gyd â thi a'r Yspryd glân yn oes oesoedd. Amen.

### Yr Epistol.

2.Cor.4.1.



GAn fod i ni y weinidogaeth hon, megis y cawsom drugaredd, nid ydym yn pallu. Eithr ni a ymwrthodasom â gorchuddiau gwradwydd, heb rodio yn ddichellgar, nac arfer twyll am air Duw: eithr trwy eglurhâd y gwirionedd yr ydym yn ein canmol ein hun wrth bob cydwybod dyn ger bron Duw. Ac os yw ein Efengyl ni yn guddiedig, yn y rhai colledig y mae yn guddiedig. Ym-mha rai y dallodd Duw y bŷd hwn feddy-

feddyliau'r anffyddlonion, rhac tywynnu iddynt lewyrch Efengyl gogoniant Christ, yr hwn yw delw Dduw. Canys nid ydym yn ein pregethu ein hunain, ond Christ Iesu yr Arglwydd, a ninneu yn weision i chwi er mwyn Iesu. Canys Duw yr hwn a orchymmmynnodd i'r goleuni lewyrchu o dywyllwch, yw'r hwn a lewyrchodd yn ein calonnau, i roddi llewyrch gwybodaeth gogoniant Duw yn wyneb Iesu Ghrist.

Yr Efengyl.



AC fel yr oedd yr Iesu yn myned oddi yno, efe a ganfu ddŷn yn eistedd wrth y dollfa, yr hwn a elwid Mathew, ac a ddywedodd wrtho, canlyn fi, ac efe a gyfodes, ac a'i canlynodd ef. Ac fe a ddarfu a'r Iesu yn eistedd i fwytta yn nhŷ hwnnw, wele, Publicanod lawer a phechaduriaid a ddaethant, ac a eisteddasant gŷd â'r Iesu a'i ddiscyblion. A phan welodd y Phariseaid hynny, hwy a ddywedasant wrth ei ddiscyblion ef, pa ham y bwyty eich athro chwi gŷd â'r Publicanod a phechaduriaid? A phan glybu 'r Iesu efe a ddywedodd wrthynt, nid rhaid i'r rhai iâch wrth feddyg, ond i'r rhai cleifion. Ond, ewch, a dyscwch pa beth yw hyn, Trugaredd yr ydwyf yn ei ewyllysio, ac nid aberth: canys ni ddaethym i alw y rhai cyfiawn, ond y pechaduriaid i edifeirwch. Math.9.9.

S. Michangel a'r holl Angelion.

Y Colect.

TRagywyddol Dduw, yr hwn a ordeiniaist, ac a osodaist wasnaethau 'r holl Angelion a dynion

mewn

mewn trefn ryfedd: Caniadhâ yn drugarog iddynt hwy, y rhai sy yn wastad yn gwneuthur it wasanaeth yn y nefoedd, fod drwy dy drefniad di yn borth ac yn amddeffyn i ni yn y ddaiar, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

## Yr Epistol.

Gwel.12,7.



A Rhyfel oedd yn y nef, Mihangel a'i angelion a ryfelasant yn erbyn y ddraig, a'r ddraig a ryfelodd a'i angelion. Onid ni orchfygasant, ac ni chafwyd eu lle hwynt o hynny allan yn y nef. A bwriwyd allan y ddraig fawr, yr hên sarph, yr hon a elwir diafol, a Satan, yr hwn sydd yn twyllo yr holl fŷd, efe a fwriwyd i'r ddaear, a'i angelion a fwriwyd allan gŷd ag ef. Ac mi a glywais lais vchel yn dywedyd yn y nêf, Yr awrhon y mae iechyd, a nerth, a theyrnas ein Duw ni, a gallu ei Ghrist ef, canys cyhudd-wr ein brodyr ni a fwriwyd i'r llawr, yr hwn ydoedd yn eu cyhuddo hwynt ger bron ein Duw ddŷdd a nôs. Ac hwy a'i gorchfygasant ef trwy waed yr Oen, a thrwy air eu tystiolaeth hwynt, ac ni charasant eu bywyd hyd farwolaeth. Am hynny llawenhewch y nefoedd, a'r sawl sy yn trigo ynddynt hwy: Gwae y rhai sy yn trigo ar y ddaear, a'r môr, canys diafol a ddescynnodd attoch chwi, yr hwn sydd a llid mawr ganddo, o herwydd gwybod mai ychydig amser sydd iddo ef.

## Yr Efengyl.

Mat.18,1.



Y R amser hynny daeth y discyblon at yr Iesu, gan ddywedyd, Pwy sydd fwyaf yn-nheyrnas nefoedd? A'r Iesu a alwodd atto fachgennyn, ac a'i gosodes yn eu canol hwynt, ac a ddywedodd, yn

wir

wir y dywedaf i chwi, oddieithr troi o honoch, a bod fel plant bychain, nid ewch i mewn i deyrnas nefoedd. Pwy bynnag gan hynny a ymostyngo fel y bachgennyn hwn, hwnnw yw'r mwyaf yn-nheyrnas nefoedd. A phwy bynnag a dderbyn gyfryw blẽtyn yn fy enw i, a'm derbyn i. A phwy bynnag a rwystro vn o'r rhai bychain hyn a gredant ynof i, gwell oedd iddo pe crogid maen melin am ei wddf, a'i foddi yn eigion y môr. Gwae 'r bŷd oblegid rhwystrau: canys angenrhaid yw dyfod rhwystrau: er hynny gwae 'r dŷn hwnnw o achos yr hwn y dêl y rhwystr. Am hynny os dy law, neu dy droed a'th rwystra, torr hwynt ymmaith a thafl oddiwrthit: gwell yw i ti fyned i mewn i'r bywyd yn glôff, neu yn anafus, nâ 'th daflu ac i ti ddwy law, neu ddau droed i'r tân tragywyddol. Ac os dy lygad a'th rwystra, tynn ef allan, a thafl oddiwrthit: gwell yw i ti fyned i mewn i'r bywyd ag vn llygad, nag a dau lygad cennit dy daflu i dân vffern. Edrychwch na ddirmygoch yr vn o'r rhai bychain hyn: canys yr ydwyf yn dywedyd i chwi, fod eu hangelion hwynt yn y nefoedd bôb amser yn gweled wyneb fy-Nhâd yr hwn sydd yn y nefoedd.

S.Luc Efangylwr.

Y Colect.

HOll-alluog Dduw yr hwn a elwaist Luc y pysygwr (yr hwn y mae ei foliant yn yr Efangel) i fod yn Bysyg-wr i'r enaid: rhynged bodd i ti, drwy iachus feddiginiaeth ei ddysceidiaeth ef, iachâu holl heintiau ein heneidiau, trwy dy Fâb Iesu Grist ein Harglwydd.

Yr

## Yr Epistol.



Act.11.22. Wilia di ym-mhob dim: dyoddef adfyd:
gwnâ waith Efangylwr: cyflawna dy
weinidogaeth. Canys bellach y'm ha-
berthir, ac amser fy ad-ddattodiad sydd
yn agos. My-fi a ymdrechais ymdrech
têg, a orphennais fy-ngyrfa, ac a gedwais y ffŷdd.
Weithian rhoddwyd coron cyfiawnder i'w chadw i
mi, yr hon a rydd yr Arglwydd y barnwr cyfiawn i
mi yn y dŷdd hwnnw: ac nid i mi yn unig ond i'r holl
rai a garant ei ymddangosiad ef. Ymddyrro i ddyfod at-
taf yn ebrwydd. Canys Demas a'm gadawodd gan
garu y byd presēnol, ac a aeth i Thessalonica: Crescēs
i Galatia: Titus i Dalmatia. Lucas yn unig sydd
gŷd â mi. Cymmer Marc a dŵg gŷd â thi, canys bu-
ddiol yw efe i mi i'r weinidogaeth. Tychicus hefyd a
ddanfonais i Ephesus. Y cochl a adewais i yn Troas
gŷd â Charpus, pan ddelych dŵg gŷd â thi, a'r llyfrau,
yn enwedig y memrwn. Alexander y gôf copr a wna-
eth i mi lawer o ddrŵg: taled yr Arglwydd iddo yn
ôl ei weithredoedd. Rhag yr hwn ymgadw dithe: ca-
nys efe a wrth-safodd ein pregeth ni yn ddirfawr.

## Yr Efengyl.



Io.15.12. R Arglwydd a ordeiniodd ddêg a thri-u-
gain eraill hefyd, ac a'u danfones hw-
ynt bob yn ddau a dau o flaen ei wyneb i
bob dinas a man lle yr oedd efe ar ddy-
fod. Am hynny efe a ddywedodd wr-
thynt, y cynhayaf sydd fawr, a'r gweith-wŷr yn an-
aml. Gweddiwch gan hynny ar Arglwydd y cyn-
hayaf, am ddanfon allan weith-wyr i'w gynhayaf.
Ewch ymmaith, wele, yr wyf fi yn eich anfon fel ŵyn
ym mŷsc bleiddiaid. Na ddygwch gôd, nac yscrepan,
nac

nac escidiau, ac na chyferchwch neb ar y ffordd. Ac i ba dŷ bynnag yr eloch i mewn, yn gyntaf dywedwch, Tangnheddyf i'r tŷ hwn. Ac o bydd yno fâb tangnheddyf, eich tangnheddyf a erys arno: os amgen hi a ddychwel attoch chwi. Ac yn y tŷ hwnnw arhoswch, gan fwyta, ac yfed y cyfryw bethau a gaffoch ganddynt: canys teilwng i'r gweith-wr ei gyflog.

## S. Simon ac Iudas Apostolion.

### Y Colect.

HOll-alluog Dduw, yr hwn a adailadaist dy gynnulleidfa ar sail yr Apostolion, a'r prophwydi, Iesu Grist ei hun yn ben congl-faen: Caniadhâ i ni fod felly ein cyssylltu ynghyd yn undeb yspryd gan eu dysceidiaeth hwy, hyd pan i'n gwneler yn sanctaidd Deml gymmeradwy gennit trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

### Yr Epistol.



IUdas gwasanaeth-wr Iesu Ghrist, a brawd Iaco, at y rhai a alwyd, ac a sancteiddiwyd gan Dduw Tâd, ac ydynt gadwedig i Iesu Ghrist: Trugaredd i chwi, a thangnheddyf, a chariad a liawsoger. Fy anwylyd, pan roddais fy-nghwbl ddiwydrwydd ar scrifennu attoch am yr iechydwriaeth gyffredinol, anghenrhaid oedd i mi scrifennu attoch i'ch annog i ymdrech ym-mhlaid y ffydd, yr hon a rodded un-waith i'r sainct. Canys y mae rhyw ddynion wedi ymlusco i mewn, y rhai oeddynt gynt wedi ei rhag-ordeinio i'r ddamnedigaeth hon: annuwolion ydynt, y rhai sy yn dymchwelyd grâs ein Duw yn drythyllwch, ac yn gwadu Duw yr unic Arglwydd, a'n Harglwydd Iesu Grist. Ewyllysio gan hynny yr ydwyf ddwyn ar gof i chwi, yn gymmaint ac i chwi un-waith wybod hyn, i'r Arglwydd wedi

Iud. gwers 1.

wedi darfod iddo waredu y bobl allan o'r Aipht, ddi-
strywio eil-waith y rhai ni chredent. Yr angelion he-
fyd y rhai ni chadwasant eu dechreuad, eithr gadel
eu trigfa eu hun, a gadwodd efe mewn cadwynau
tragywyddol dan dywyllwch i farn y dŷdd mawr.
Megis Sodoma, a Gomorrha, a'r dinasoedd o'u
hamgylch, y rhai yn gyffelyb fodd ag hwynt a wnae-
thant odineb, ac a ddylynasant gnawd arall, a osod-
wyd yn siampl, gan ddyoddef dialedd tân tragywy-
ddol. Yn gyffelyb i hyn y mae y breuddwyd-wŷr hyn
yn halogi 'r cnawd, ac yn dirmygu llywodraeth, ac
yn cablu y rhai sy mewn awdurdod.

## Yr Efengyl.



Io.15.17. Hyn yr wyf yn ei orchymmyn i chwi,
garu o honoch ei gilydd. Os y bŷd a'ch
cashâ chwi, gwybyddwch gashâu o
honaw fy-fi o'ch blaen chwi. Pe bua-
sech o'r bŷd, y bŷd a garase yr eiddo,
eithr am nad ydych o'r bŷd, ond i mi eich dewis o'r
bŷd, am hynny y mae'r bŷd yn eich casâu chwi. Co-
fiwch yr ymadrodd a ddywedais i wrthych, Nid yw
'r gwâs yn fwy na'i arglwydd. Os erlidiasant fi,
hwy a'ch erlidiant chwithau: os cadwasant fy-
ngair i, hwy a gadwant yr eiddoch chwithau.
Eithr hyn oll a wnânt i chwi er mwyn fy enw i,
am nad adnabuant yr hwn a'm hanfonodd i. Oni
bai ddarfod i mi ddyfod a llefaru wrthynt, ni bydde
arnynt bechod: ond yr awrhon nid oes ganddynt
ddim i escusodi eu pechod. Y sawl sydd yn fy-ngha-
sau i, sydd yn casau fy-Nhâd hefyd. Pe buaswn
heb wneuthur y gweithredoedd yn eu plith hwy, y
rhai ni wnaeth neb arall, ni buase arnynt bechod:
ond yr awrhon, hwy a welsant, ac a'm casasant i,
a'm Tâd hefyd. Eithr fel y cyflawnid y gair yr hwn

sydd

sydd scrifennedig yn eu cyfraith hwynt, Hwy a'm casasant i yn ddiachos. Ond pan ddêl y diddanudd, yr hwn a anfonaf i chwi oddiwrth y Tâd, sef Yspryd y gwirionedd yr hwn a ddeillia oddiwrth y Tâd, hwnnw a dystiolaetha am danafi. Chwithau hefyd a dystiolaethwch, am eich bôd o'r dechreuad gyd â mi.

## Gwyl yr holl Sainct.

### Y Colect.

HOll-alluog Dduw, yr hwn a gyssylltaist yng-hyd dy etholedigion yn vn cyfundeb a chymdeithas yn-nirgeledic gorph dy Fâb Crist ein Harglwydd: Caniadhâ i ni râd felly i ganlyn dy ddwywol Sainct ym-hob rhinweddol a dwywol fywyd, hyd pan allom ddyfod i'r anhraethawl lawenydd hynny a baratoaist i'r rhai yn ddiffuant y sy i'th garu, trwy Iesu Grist ein Harglwydd, Amen.

### Yr Epistol.



WEle, mi Ioan a welais angel arall yn dyfod i fynu oddiwrth godiad haul, ac yr ydoedd sel Duw byw ganddo, ac efe a lefodd â llais vchel ar y pedwar angel, i'r rhai y rhoddasid gallu i ddrygu y ddaear, a'r môr, gan ddywedyd, na ddrygwch y ddaear, na'r môr, na'r coedydd, hyd oni seliom wasanaethwyr ein Duw ni yn eu talcennau. Ac mi a glywais rif y rhai a seliwyd. Yr oedd wedi eu selio bedair-mil a saith vgain mil o holl lwythau meibion Israel. Gweled.7.2.

O lwyth Iuda yr oedd yn seliedig ddeuddeng-mil.
O lwyth Ruben y seliasid deuddeng-mil.
O lwyth Gad y seliasid deuddeng-mil.
O lwyth Aser y seliasid deuddeng-mil.
O lwyth Nephthalim y seliasid deuddeng-mil.
O lwyth Manasses y seliasid deuddeng-mil.
O lwyth Simeon y seliasid deuddeng-mil.

O lwyth Lefi y seliasid deuddeng-mil.
O lwyth Issachar y seliasid deuddeng-mil.
O lwyth Zabulon y seliasid deuddeng-mil.
O lwyth Ioseph y seliasid deuddeng-mil.
O lwyth Beniamin y seliasid deuddeng-mil.

Wedi hyn mi a edrychais, ac wele dyrfa fawr, yr hon ni alle neb ei rhifo, o'r holl genedlaethau, llwythau, a phobloedd, ac ieithoedd, yn sefyll ger bron yr orsedd-faingc, a cher bron yr Oen, a gynau gwynion am danynt, a phalmwydd yn eu dwylo, ac hwy a lefasant â llais vchel, gan ddywedyd, Cyfrifer iechydwriaeth i'n Duw ni, yr hwn sydd yn eistedd ar yr orsedd-faingc, ac i'r Oen. A'r holl angelion a safasant o amgylch yr orseddfa, ac o amgylch yr henuriaid, a'r pedwar anifail, ac hwy a syrthiasant ger bron yr orsedd-faingc ar eu hwynebau, ac a addolasant Dduw, gan ddywedyd, Amen, moliant, a gogoniant, a doethineb, a diolch, ac anrhydedd, a gallu, a nerth fyddo i'n Duw ni yn dragywydd. Amen.

Yr Efengyl.

Mat. 5. 1. An welodd yr Iesu y tyrfaoedd, efe a escynnodd i'r mynydd: ac wedi iddo ef eistedd, ei ddiscyblion a ddaethant atto. Ac efe a egorodd ei enau, ac a'u dyscodd hwynt, gan ddywedyd, Gwyn eu bŷd y tlodion yn yr yspryd, canys eiddynt yw teyrnas nefoedd. Gwyn eu bŷd y rhai galarus, canys hwynt a ddiddenir. Gwyn eu bŷd y rhai llaryaidd, canys hwy a feddiannant y ddaear. Gwyn eu bŷd y rhai sy arnynt newyn a syched am gyfiawnder: canys hwy a ddiwellir. Gwyn eu bŷd y trugarogion: canys hwy a gânt drugaredd. Gwyn eu bŷd y rhai glân o galon: canys hwy a welant Dduw. Gwyn eu bŷd y tangnheddyf-wŷr: canys hwy a elwir yn blant Duw. Gwyn eu bŷd y rhai a erlidir er

mwyn cyfiawnder: canys eiddynt yw teyrnas nefoedd. Gwyn eich byd pan y'ch difenwo dynion a'ch erlid, a dywedyd pob rhyw ddrygair am danoch er fy mwyn i, ac hwy yn gelwyddog: byddwch lawen a hyfryd, canys mawr yw eich gwobr yn y nefoedd: o herwydd felly yr erlidiasant hwy y prophwydi, y rhai a fuant o'ch blaen chwi.

# Y drefn am wenidogaeth

## *Swpper yr Arglwydd, neu yr* Cymmun bendigaid.



Ynnifer a fyddo yn amcânu bod yn gyfrannogion o'r Cymmun bendigedic, a arwyddocânt eu henwau i'r Curat nosweith o'r blaen, neu yr boreu cyn dechreu y weddi foreuol, ai yn y fan gwedi.

Ac o bydd vn o'r rhai hynny yn ddrwgfucheddol cyhoedd, fel y byddo gwrthwynebus gan y gynnulleidfa: neu a wnaeth gam iw gymmydog ar air, neu ar weithred: Y Curat gan gael gwybyddiaeth o hynny, a'i geilw ef, ac a'i cynghôra na ryfygo efe er dim ddyfod i ford yr Arglwydd, hyd oni ddeclario efe yn gyhoeddus ei fod yn wîr edifeiriol, a darfod iddo wellhau ei ddrwgfuchedd o'r blaen; fel y bodloner y gynnulleidfa wrth hynny; yr hon a rwystryfid yn y blaen: A darfod iddo wneuthur iawn i'r neb y gwnaethoedd gamwedd o'r blaen: Neu o'r lleiaf, dadcan ei fod mewn cyflawn fryd i wneuthur felly yn gyntaf ac y gallo yn gymhedrol.

Y drefn hon a arfer y Curat am y sawl y gwypo efe fod malis a chasineb yn teyrnasu rhyngddynt; ni ddioddef

iddynt fod yn gyfranol o fwrdd yr Arglwydd, hyd pan wypo eu bod hwynt wedi cydtuno. Ac os vn o'r pleidiau anheddychol a fydd bodlawn i faddeu o waelod ei galon gwbl ac a wnaethpwyd yn ei erbyn, ac i wneuthur iawn i bawb ac a rwystrawdd ynteu ei hunan; a'r blaid arall ni fyn ei ddwyn i dduwiol vndeb, onid sefyll yn wastad yn ei wrthnysigrwydd a'i falis: Y Gwenidog yn yr achos hynny a ddylu dderbyn y dyn edifeiriol i'r Cymmun bendigedic, ac nid y dyn ystyfnig anhydyn.

Y bwrdd ar amser y cymmun â lliain gwyn têg arno, a saif ynghanol yr Eglwys, neu yn y Gafell lle byddo yr foreuol a'r brydnhawnol weddi, wedi 'r ordeinio ei dywedyd. A'r offeiriad gan sefyll wrth yr ystlys gogledd i'r bwrdd a ddywaid weddi yr Arglwydd, a'r Colect sydd yn canlyn.

¶ Ein Tad ni yr hwn wyt yn y nefoedd, &c.



R holl-alluog Dduw, i'r hwn y mae pob calon yn agored, a phob deisyf yn gydnabyddus, a rhag yr hwn nid oes dim dirgel yn guddiedic, glanhâ feddyliau ein calonnau trwy ysprydoliaeth dy lân Yspryd, fel y carom dy-di yn berffaith, ac y mawrhâom yn deilwng dy Enw sanctaidd trwy Grist ein Harglwydd. Amen.

Yna yr offeiriad a draetha yn eglur y deng-air deddf oll. A'r bobl ar eu gliniau ar ôl pob vn o'r gorchymynnion a archant drugaredd Dduw am eu torri hwynt, yn y modd hyn.

Y Gwenidog.

Exod. 20. 

Duw a lefarodd y geiriau hyn, ac a ddywedodd: Myfi yw yr Arglwydd dy Dduw: Na fydded it dduwiau eraill onid myfi.

Pobl.

Pobl.

Arglwydd trugarhâ wrthym, a gostwng ein calonneu i gadw y gyfraith hon.

Gwenidog.

Na wna it dy hun ddelw gerfiedic, na llun dim a'r y sydd yn y nefoedd uchod, neu yn y ddaiar isod, nac yn y dwfr tann y ddaiar: Na ostwng iddynt, ac na addola hwynt. Canys myfi yr Arglwydd dy Dduw ydwyf Dduw eiddigus, yn ymweled a phechodau y tadau ar y plant, hyd y drydedd ar bedwaredd genhedlaeth o'r rhai a'm casânt, Ac yn gwneuthur trugaredd i filoedd o'r rhai a'm carant, ac a gadwant fyng-orchymynnion.

Pobl.

Arglwydd trugarhâ wrthym, a gostwng ein calonnau i gadw yr gyfraith hon.

Gwenidog.

Na chymmer Enw yr Arglwydd dy Dduw yn ofer, canys nid gwirion gan yr Arglwydd yr hwn a gymmero ei Enw ef yn ofer.

Pobl.

Arglwydd trugarhâ wrthym, a gostwng ein calonnau i gadw y gyfraith hon.

Gwenidog.

Cofia gadw yn sanctaidd y dydd Sabbath. Chwe diwrnod y gweithi ac y gwnei dy holl waith, eithr y seithfed dydd yw Sabbath yr Arglwydd dy Dduw: ar y dydd hwnnw na wna ddim gwaith, tydi, na'th fab, na'th ferch, na'th wâs, na'th forwyn, na'th anifail, na'r dŷn dieithr a fyddo o fewn dy byrth. Canys mewn chwe diwrnod y gwnaeth yr Arglwydd nef a daiar, y môr ac oll y sydd ynddynt, ac a orphywysodd y seithfed dydd: O herwydd pa ham y bendithiodd yr Arglwydd y seithfed dydd, ac a'i sancteiddiodd ef.



Pobl.

Pobl.

Arglwydd trugarhâ wrthym, a gostwng ein calonneu i gadw y gyfraith hon.

Gwenidog.

Anrhydedda dy dad a'th fam, fel yr estynner dy ddyddiau ar y ddaiar yr hon a rydd yr Arglwydd dy Dduw i ti.

Pobl.

Arglwydd trugarhâ wrthym, a gostwng ein calonnau i gadw yr gyfraith hon.

Gwenidog.

Na ladd.

Pobl.

Arglwydd trugarhâ wrthym, a gostwng ein calonnau i gadw y gyfraith hon.

Gwenidog.

Na wna odineb.

Pobl.

Arglwydd trugarhâ wrthym a gostwng ein calonnau i gadw y gyfraith hon.

Gwenidog.

Na ledratta.

Pobl.

Arglwydd trugarhâ wrthym, a gostwng ein calonnau i gadw y gyfraith hon.

Gwenidog.

Na ddwg gam dystiolaeth yn erbyn dy gymmydog.

Pobl.

Arglwydd trugarhâ wrthym, a gostwng ein calonnau i gadw y gyfraith hon.

Gwenidog.

Na chwennych dŷ dy gymmydog, na chwennych wraig dy gymmydog, na'i wâs, na'i forwyn, na'i ŷch, na'i assyn, na dim ar sydd eiddo.

Pobl.

Pobl.

**Arglwydd trugarhâ wrthym, ac scrifenna yr holl ddeddfau hyn yn ein calonnau ni a attolygwn i ti.**

Yna y canlyn y Colect o'r dydd, gyd ag vn o'r ddau golect hyn sy yn canlyn, dros y Frenhines, a'r Offeiriad yn ei sefyll wrth y ford a ddyweid.

## Gweddiwn.

HOll-alluog Dduw, yr hwn sydd a'i deyrnas yn dragywyddol, a'i allu yn anfeidrol, cymmer drugaredd ar yr holl gynnulleidfa, a rheola felly galon dy ddewisedic wasanaethyddes Elizabeth ein Brenhines a'n llywydd; fel y gallo hi (gan iddi wybod i bwy y mae hi yn weinidog) vchlaw pob dim geisio dy anrhydedd a'th ogoniant; Ac fel y gallom ninneu ei deiliaid hi (gan feddylied yn ddyledus oddi-wrth bwy y mae yr awdurdod sydd iddi) yn ffyddlon ei gwasanaethu a'i hanrhydeddu, ac yn ostyngedig vfyddhau iddi, ynot ti, ac erot ti, yn ôl dy fendigedig air a'th ordinhâd, trwy Iesu Grist ein Harglwydd, yr hwn gyd â thi a'r Yspryd glân, sydd yn byw, ac yn teyrnasu yn dragywydd yn vn Duw, heb drangc na gorphen. Amen.

HOll-alluog a thragywyddol Dduw, i'n dyscir gan dy air sanctaidd, fod calonnau brenhinoedd wrth dy reolaeth a'th lywodraeth di; a'th fod ti yn eu gosod hwynt, ac yn eu hymchwelyd fel y mae dy dduwiol ddoethineb yn gweled bod yn oreu: Yr ydym ni yn ostyngedig yn attolwg i ti felly osod a llywodraethu calon Elizabeth dy wasanaethyddes ein Brenhines a'n llywydd, fel y gallo hi yn ei holl feddyliau, geiriau, a gweithredoedd, yn wastad geisio dy anrhydedd di, a'th ogoniant, a myfyrio i gadw

dy bobl a roddedyn ei chadwzeth hi, mewn digonoldeb, tangneddyf, a duwioldeb: Caniadhâ hyn dzugarog Dad er cariad ar dy anwyl Fab Jesu Gzist ein Harglwydd. Amen.

Yn y fan wedi yr Colectau, y darllen yr offeiriad yr Epistol, gan ddechreu fel hyn:

Yr Epistol scrifennedic yn yr pennod o &c.

Ac wedi diweddu yr Epistol, efe a ddywed yr Efangyl, gan ddechreu fel hyn:

Yr Efangyl a scrifenir yn yr pennod o &c.

Ac wedi gorphen yr Epistol a'r Efangyl, y dywedir y Credo.



CRedaf yn vn Duw Tâd, Holl-alluog, Creawdr Nef a daiar, ac oll weledigion, ac anweledigion. Ac yn ein Harglwydd Jesu Gzist, yr vnic cenhedledig Fâb Duw, cenhedledig gan ei Dâd cyn yr holl oesoedd, Duw o Dduw, llewyrch o lewyrch, gwîr Dduw, o wîr Dduw, cenhedledig nid gwneuthuredig, yn vn hanfod a'r Tâd, gan yr hwn y gwnaethpwyd pob peth: yr hwn erom ni ddynion, ac er ein iechydwriaeth a ddescennodd o'r nefoedd, ac a gnawdiwyd drwy yr Yspryd glân o Fair forwyn, ac a wnaethpwyd yn ddŷn, ac a groeshoeliwyd hefyd trosom tan Bontius Pilatus. Efe a ddioddefodd ac a gladdwyd, a'r trydydd dydd efe a adgyfododd yn ôl yr Scrythurau, ac a ascennodd i'r nef, ac y sydd yn eisteddd ar ddeheu-law yr Tâd. A thrachefn y daw efe drwy ogoniant i farnu y byw a'r meirw; ac ar ei deyrnas ni bydd trangc. A chredaf yn yr Yspryd glân, yr Arglwydd a'r Bywiawdur, yr hwn sydd yn deilliaw

lliaw o'r Tâd a'r Mâb, yr hwn yng-hŷd a'r Tâd a'r Mâb a gyd-addolir, ac a gyd-ogoneddir, yr hwn a lefarodd trwy yr prophwydi; A chredaf fod vn Catholic ac Apostolic Eglwys. Addefaf vn Bedydd er maddeuaint pechodau. Ac edrychaf am adgyfodiad y meirw, a bywyd y byd sydd ar ddyfod. Amen.

Ar ôl y Credo, oni bydd pregæth y canlyn vn o'r homiliau a ddoded allan eusus, neu a ddoder allan rhag llaw drwy awdurdod gyffredin.

Ar ôl cyfryw bregæth, neu homili, neu 'r Cyngor: y Curad a fynega i'r bobl, a fydd na gwyliau, nac ymprydiau o fewn yr wythnos a fo yn canlyn, gan eu cynghori hwynt yn ddyfal i feddwl am y tlodion; a dywedyd vn, ai anghwanec o'r ymadroddion hyn sy yn canlyn, fel y gwelo efe fod yn oreu wrth ei ddeall ei hun.



DIscleirïed eich goleuni ger bron dyni- Matt.5.16.
on, fel y gwelont eich gweithredoedd
da, ac yr anrhydeddant eich Tad yr
hwn sydd yn y nefoedd.

Na chesclwch drysor i chwi ar y Matt.6.19. 20.
ddaiar, lle y mae gwyfyn a rhŵd yn llygru, a lle
y mae lladron yn cloddio trwodd, ac yn lladrata;
eithr cesclwch i chwi drysorau yn y Nef, lle nid oes
na gwyfyn na rhwd yn llygru; a lle ni's cloddia yr
lladron trwodd, ac nis lladrattânt.

Beth bynnac a ewyllysioch ei wneuthur o ddyni- Matt.7.12.
on i chwi, felly gwnewch chwithau iddynt hwy:
canys hyn yw yr gyfraith a'r prophwydi.

Nid pwy bynnac a ddywed wrthif Arglwydd Arg- Matt.7.21.
lwydd, a ddaw i deyrnas nefoedd, ond yr hwn a wnà
ewyllys fy Nhâd yr hwn sydd yn y nefoedd.

Luc.19.8. Zaccheus a safodd ac a ddywedodd wrth yr Arglwydd, wele Arglwydd, yr ydwyf yn rhoddi hanner fyng-olud i'r tlodion: ac os dygum ddim oddiar neb trwy dwyll mi a'i talaf ar ei bedwerydd.

1.Cor.9.7. Pwy er ioed a ryfelodd ar ei draul ei hun? pwy sydd yn plannu gwin-llan, ac heb fwyta o'i ffrwyth hi? neu pwy sydd yn porthi praidd, ac heb fwytta o laeth y praidd?

1.Cor.9.11. Os hauasom i chwi bethau Ysprydol, ai mawr yw, os nyni a fedwn eich pethau cnawdol?

13. Oni wyddoch chwi fod y rhai y sy yn gwneuthur pethau cyssegredic, yn bwyta pethau o'r cyssegr: a bod y rhai sy yn gwasanaethu yr allor, yn gyfrannogion o'r allor? Yr vn wedd yr ordeiniodd yr Arglwydd i'r rhai a bregethent yr Efangel fyw wrth yr Efangel.

2.Cor.9.6,7 A hauo ychydig, a fêd ychydig, ac a hauo yn helaeth a fêd yn helaeth. Pob vn megis y mae yn amcanu yn ei galon, felly gwnaed, nid yn athrist, neu wrth gymmell, canys y mae yn hoff gan Dduw roddwr llawen.

Gal.6.6.7. Y neb a ddyscwyd yn y gair, cyfranned o'i dda oll â'r hwn a'i dyscodd ef. Na thwyller chwi, ni watwerir Duw: canys pa beth bynnac a hauo dyn, hynny a fêd efe.

Gal.6.10. Tra caffom amser, gwnawn dda i bob dŷn, ac yn enwedic i'r rhai sy o deulu y ffydd.

1.Tim.6.6.7 Duwiolder sydd gyfoeth mawr o bydd dŷn foddlon i'r hyn sydd ganddo, canys ni ddaeth gennym ddim i'r byd, ac ni allwn ddwyn dim o'r byd ymaith.

1.Tim.6. Gorchymyn i'r rhai ŷnt gyfoethogion yn y bŷd hwn, fod yn barod i roddi, ac yn llawen i gyfrannu, gan osod sail dda iddynt eu hun erbyn yr amser sydd yn dyfod, fel y caffont y bywyd tragywyddol.

Nid ydyw Duw yn anghyfion fel y gollyngo dros gof eich gweithredoedd a'ch trafael a ddel o gariad; yr hwn a ddangossasoch chwi er mwyn ei Enw ef, y sawl a roesoch i'r sainct ac ydych etto yn rhoddi. Heb.6.10.

Na ollyngwch dros gof wneuthur daioni a chyfrãnu: canys â chyfryw aberth y boddlonir Duw. Heb.13.16.

Pwy bynnac sydd iddo dda yr byd hwn, ac a welo ei frawd mewn eisiau, ac a gaeo ei drugaredd oddiwrtho, pa fodd y mae cariad Duw yn trigo ynddo ef? 1.Ioh.3.17.

Dyro gardod o'th dda, ac na thro vn amser dy wyneb oddi-wrth vn dŷn tlawd, ac felly ni thrŷ 'r Arglwydd ei wyneb oddi-wrthit titheu. Tob.4.7.

Bydd drugarog yn ôl dy allu: os bydd llawer i'th helw dyro yn aml, os bydd ychydic, bydd ddyfal i roddi yn llawen o'r ychydic: canys felly y cynhulli it dy hun obr da yn nydd yr anghenrhaid. Tob.4.8.

Y neb a gymero drugaredd ar y tlawd, y sydd yn rhoddi echwyn i'r Arglwydd: ac edrych beth a roddo efe ymaith, fe a delir iddo drachefn. Dihar.19.17.

Bendigedic fyddo 'r dŷn a roddo i'r clâf a'r anghenus: yr Arglwydd a'i gwared ef yn amser trwbl. Psal.41.1.

Yna wardeinaid yr Eglwys, neu rai eraill trostynt, a gasclant ddefosiwn y bobl, ac a'i dodant ym-mlwch y tlodion: ac ar y dyddiau gosodedig i offrymmu, taled pawb i'r Curat yr offrymmau dyledus, ac arferedic. Wedi darfod hynny y dywed yr offeiriad.

Gweddiwn dros holl stât Eglwys Grist sy yn milwrio yma ar y ddaiar.

HOll-alluog a thragwyddol Dduw, yr hwn trwy dy sanctaidd Apostol a'n dyscaist i wneuthur gwe-

Oni bydd dim elusenn wedi ei roddi i'r tlodion yna gadawer y geiriau hyn gymmeryd ein elusenni heb ddywedyd.

gweddiau ac erfyniau, ac i ddiolch dros bob dŷn: yr ydym ni yn ostyngedic yn attolwg i ti yn drugarocaf gymeryd ein elusenni, a derbyn ein gweddiau hyn, y rhai 'r ydym yn eu hoffrwm i'th ddwywol fawredd, gan attolygu i ti ysprydoli yn wastad yr Eglwys gyffredinol ag Yspryd y gwirionedd, undeb, a chyd-gordio; a chaniadhâ i bawb a'r y sy yn cyffessu dy enw sanctaidddiol, gytuno yng-wirionedd dy sanctaidd air, a byw mewn undeb a duwiol gariad. Ni a attolygwn i ti hefyd gadw, ac ymddeffyn oll Gristianus Frenhinoedd, Tywysogion a llywiawdwŷr, ac yn enwedic dy wasanaethyddes Elizabeth ein Brenhines, fel y caffom tani hi ein llywodraethu yn dduwiol, ac yn heddychol: A chaniad-hâ iw holl gyngor hi, ac i bawb ac y sydd wedi eu gosod mewn awdurdod dani, allu yn gywir, ac yn uniawn rannu cyfiawnder, er cospi drygioni a phechod, ac er maentumio gwir grefydd Duw a rhinwedd dda. Dyro râd nefol Dâd i'r holl Escobion, Bugeiliaid a Churadiaid, fel y gallont hwy eu buchedd a'u hathrawiaeth osod allan dy wir a'th fywiol air, a gwasanaethu dy sanctaidd Sacramentau yn iawn ac yn ddyladwy: a dyro i'th holl bobl dy nefawl râd, ac yn enwedig i'r gynnulleidfa hon y sydd yma yn gydrychiol, fel y gallont ac ufydd galon a dyledus barch wrando a derbyn dy sanctaidd air, gan dy wasanaethu yn gywir mewn sancteiddrwydd ac uniondeb bob dydd o'u bywyd. Ac ydd ŷm yn ostyngedic yn attolygu i ti o'th ddaioni Arglwydd, gonfforddio a nerthu pawb ac y sy yn y bywyd trangedic hwn mewn trwbl, tristwch, angen, clefyd, neu ryw wrthwyneb arall: Caniadhâ hyn, nefol Dâd, er cariad ar Iesu Grist, ein unic gyfryng-wr a'n dadleu-wr. Amen.

Yna

*Yna y canlyn y cyngor hwn ar ryw amseroedd, pan welo yr Curad y bobl yn escaelus am ddyfod i'r Cymmun bendigedic.*



Rydym ni wedi dyfod ynghyd yr awr hon, (wŷr garedigol frodyr) i ymborth ar Swpper yr Arglwydd, i'r hwn o ran Duw y'ch gwahoddaf bawb ac y sydd yma yn gynhyrchiol, ac a adolygaf iwch er cariad ar yr Arglwydd Iesu Grist na wrthodoch ddyfod iddo, gan eich bod mor garedigol wedi eich galw, a'ch gwahodd gan Dduw ei hunan. Chwi a wyddoch mor ofidus, ac mor angharedic o beth yw, pan fo gŵr wedi arlwyo gwledd werth-fawr, ac wedi trwssio ei fwrdd â phob rhyw arlwy, megis na bai ddim yn eisieu onid y gwahodd-wyr i eistedd: ac etto y rhai a alwyd heb ddim achos yn anniolchusaf yn gwrthod dyfod. Pwy vn o honoch chwi yn y cyfryw gyflwr ni chyffroe? pwy ni thybyge wneuthur cam a sarhaed mawr iddo? Herwydd pa ham fy anwyl garedicaf frodyr yng Hrist, gwiliwch yn dda rhag i chwi, gan ymwrthod â'r Swpper sancteiddiol hwn, annog bâr Duw i'ch erbyn. Hawdd i ddŷn ddywedyd, ni chymmunaf fi o herwydd bod negesau bydol i'm rhwystro: eithr y cyfryw escusodion nid ydynt mor hawdd eu derbyn yn gymeradwy ger bron Duw. Os dywed neb, yr wyf fi yn bechadur brwnt, ac am hynny yn ofni dyfod: pa'm, gan hynny nad ydych chwi yn edifarhau, ac yn gwellhau? A chan fod Duw yn eich galw, onid oes gywilydd arnoch ddywedyd na ddeuwch? Pan ddylech chwi ymchwelyd at Dduw, a ymescusodwch chwi, a dywedyd nad ydych barod? Ystyriwch ynoch eich hunain, pa fychaned a dâl y cyfryw goeg-escusodion ger bron Duw. Y rhai a wrthodasant y wlêdd yn yr Efangel, oblegit iddynt brynu tyddyn, neu brofi eu hieuau ychen, neu oblegit

eu priodi,

priodi, ni chawsant felly mo'u hescusodi, onid eu cyfrif yn anheilwng o'r wledd nefawl. Myfi o'm rhan i, wyf yma yn bresennol, ac o herwydd fy swydd, yr ydwyf yn eich gwahodd yn Enw Duw. Ydd wyf i'ch galw o ran Crist, a megis y caroch eich Iechydwriaeth eich hunain yr wyf i'ch cynghori i fod yn gyfrannogion o'r Cymmun bendigedic hwn. Ac fel y bu wiw gan Fâb Duw faddeu ei enaid gan angeu ar y groes dros eich iechyd, felly yn yr vn modd y dylech chwithau gymmeryd y Cymmun ynghŷd er cof am ei angau ef, fel y gorchymynnodd efe ei hun. Yn awr os chwychwi nis gwnewch fel hyn, Meddyliwch ynoch eich hunain faint y cam-wedd yr ydych yn ei wneuthur â Duw, ac mor flin yw 'r boen y sydd ar vchaf eich pennau am hynny. Ac lle yr ydych yn anfodloni Duw mor drwm gan ymwrthod â'r wynfydedic wlêdd hon, ydd wyf i'ch rhybuddio, i'ch cynghori, ac yn attolygu i chwi nad anghwanegoch yr anghariadigrwydd hyn ym-mhellach: yr hwn beth a wnewch, os chwychwi a saif gan lygad-rythu, ac edrych ar y sawl sy yn Cymmuno, ac heb fod yn gyfrannogion o honaw eich hunain; Canys pa beth y bernir hynny amgen, nâ mwy o ddirmyg ac angharedigrwydd tu ag at Dduw? Diau mai anniolch mawr yw i chwi necau pan ych galwer: Ond y mae yr bai yn fwy o lawer, pan fo rhai yn sefyll heibio, ac etto heb na bwyta, nac yfed y sanctaidd Gymmun hwn gyd ag eraill. Atolwg iwch, pa beth amgenach yw hyn onid gwatwar a distadlu dirgeledigaethau Crist? Wrth bawb yr ydys yn dywedyd, Cymmerwch a bwytewch, Cymmerwch, ac yfwch bawb o hwn, gwnewch hyn er cof am danaf. A pha wyneb gan hynny, neu â pha ddigywilydd-dra y gwrandewch chwi y geiriau hyn? Beth fydd hyn amgen onid esceuluso, diystyru

a gwat-

a gwatwar Testament Crist? Herwydd pam, yn gynt nac y gwneloch felly, ewch ymaith a gedwch le i'r rhai y sy â meddwl duwiol ganddynt. Eithr pan fyddoch yn myned ymaith, mi a attolygaf i chwi feddwl ynoch eich hunain, oddi wrth bwy yr ydych yn myned: Yr ydych yn myned oddiwrth fwrdd yr Arglwydd, yr ydych yn myned oddiwrth eich brodur, ac oddi-wrth wledd y nefolaf ymborth. Os y petheu hyn a ystyriwch yn ddifrifol, chwi a drowch drwy râd Duw i feddwl a fo gwell: Ac er mwyn caffael hyn yr ufydd erfyniwn, tra fyddom yn cymmeryd y Cymmun bendigedic.

Ac ar ryw amseroedd y dywedir hyn yma hefyd, pan welo y Curat fod yn berthynasol.



Anwyl garedigion, yn gymaint a'n bôd ni yn gwbl ddyledus i roddi i'r Holl-alluog Dduw ein Tâd nefol wir galônog ddiolch, am iddo roddi ei Fâb ein Iachawdr Iesu Grist, nid yn unic i farw drosō, onid hefyd i fod yn ymborth ac yn gynhaliaeth ysprydol i nyni, fel yr eglurwyd i ni, yn gystal drwy air Duw, a thrwy y Sacramentau bendigedic o'i gorph a'i waed ef: Yr hwn gan ei fod yn beth mor gonfforddus i'r rhai a'i cymerant yn deilwng, ac mor beryglus i'r rhai a ryfygo ei gymeryd yn anheilwng: fy nylêd i yw eich cynghori chwi i ystyried teilyngdod y dirgeledigaeth bendigedic, a'r mawr berigl sydd o'i gymmeryd ef yn anheilwng, ac felly chwilio a holi eich cydwybodau eich hunain, fel y dylech ddyfod yn sanctaidd ac yn lân i'r ddnwiolaf a'r nefolaf wlêdd. Ac na ddelech ddim, onid yn y dillad priodas, y rhai a ofyn Duw yn yr Scrythur lân, ac felly dyfod, a chael eich derbyn fel teilwng gyfrannogion o

gyfryw fwrdd nefol. Y ffordd a'r modd i hynny, sydd fel hyn; Yn gyntaf bod i chwi chwilio, a holi eich bucheddau, a'ch ymddygiad wrth reol gorchymyniôn Duw: ac ym-mha beth bynnac y gwypoch iwch bechu, pa un bynnac ai ar air, ai ar weithred, yna ymofidiwch am eich bucheddau pechadurus: Cyffeswch eich hunain i'r Holl-alluog Dduw, gan gyflawn fryd i wellhau eich buchedd. Ac os chwi a welwch eich camweddau yn gyfryw, ac nad ŷnt yn unic yn erbyn Duw, namyn hefyd yn erbyn eich cymmydogion: yno bod i chwi, ymgymodi â hwynt: gan fod yn barod i wneuthur iddynt iawn a thâl hyd yr eithaf o'ch gallu, am bob camwedd a thrâha ar a wnaethoch i neb arall: Ac yn yr un modd, bod o honoch yn barod i faddeu i eraill a wnaethant i'ch erbyn chwithau, megis ac y mynnech chwitheu gael maddeuaint am eich camweddau ar law Duw: Canys mewn modd amgen, nid yw cymmeriad y Cymmun bendigedic ddim ond anghwanegu eich barnedigaeth. Ac o herwydd bod yn angenrheidiol na ddêl nêb i'r Cymmun bendigedic, onid gan gyflawn ymddyried yn-nhrugaredd Dduw, ac â heddychol gydwybod: gan hynny o bydd neb o honoch, (o blegit y moddion hynny,) heb allu heddychu ei gydwybod ei hun, onid bod yn rhaid iddo ychwaneg cyngor, yna deued attafi, neu at un arall doeth, dyscedic, y sydd Weinidog Gair Duw, ac agored ei ddolur, fel y gallo dderbyn cyfryw gyngor ysprydol, fforddiad, a chonffordd, fel y gallo ei gydwybod ymyscafnhau: a thrwy weinidogaeth gair Duw, allu o honaw dderbyn cyssur, a daioni y gollyngdod, er heddychu ei gydwybod, ac ymochelyd pob petruster, ac anwybodaeth.

Yna y dywed yr Offeiriad y cynghor hwn.



ANwyl garedigion yn yr Arglwydd, y sawl sydd yn meddwl dyfod i'r bendigedic Cymmun corph a gwaed ein Iachawdur Crist, rhaid yw i chwi ystyried beth y mae Sanct Paul yn ei scrifennu at y Corinthiaid, fel y mae efe yn cynghori pawb i'w profi, ac i'w holi eu hunain, cyn iddynt ryfygu bwytta o'r bara hwnnw, ac yfed o'r cwppan hwnnw. Canys fel y mae y llês yn fawr, os â chalon wîr edifeiriol, ac a bywiol ffydd y cymmerwn y Sacrament bendigedic hwnnw (canys yna ydd ŷm ni yn ysprydawl yn bwytta cig Crist, ac yn yfed ei waed ef, yna yr ydym yn trigo yng-Hrist a Christ ynom ninnau, ydd ŷm ni yn un â Christ â Christ â ninnau) felly y mae yr pericl yn fawr, os ni a'i cymmer yn anheilwng. Canys yna ydd ŷm ni yn euog o gorph a gwaed Christ ein Iachawdur, yr ydym yn bwyta, ac yn yfed ein barnedigaeth ein hunain, heb ystyried corph yr Arglwydd. Yr ydym yn enyn digofaint Duw i'n herbyn, ydd ŷm ni yn ei annog ef i'n plâu ag amrafael glefydau, ac amryw angau. Gan hynny o bydd neb o honoch yn gabl-wr Duw, yn rhwystro neu yn enllibio ei air, yn odinebus, neu mewn malais, neu genfigen, neu mewn rhyw fai ceryddus arall ymofidiwch dros eich pechodau ac na ddewch i'r bwrdd sanctaiddiol hwn, rhag (yn ôl cymmeriad y Sacrament bendigedic hwnnw) i ddiafol fyned ynoch i mewn, megis ydd aeth mewn Iuddas, a'ch llenwi yn llawn o bob anwiredd, a'ch dwyn i ddestruw, enaid a chorph. Bernwch gan hynny eich hunain (frodyr) megis na'ch barner gan yr Arglwydd. Gwîr edifarhewch am eich pechodau a aethant heibio. Bid iwch fywiol a diogel ffydd yng-hrist ein Iachawdur. Gwellhewch

eich buchedd, a byddwch mewn cariad perffaith á phawb; felly y byddwch weddus gyfrannogion o'r dirgeledigaeth sancteiddiol hyn. Ac o flaen pob peth y mae yn rhaid i chwi roddi gostyngeiddiaf a charedicaf ddiolwch i Dduw Tad, y Mab, a'r Yspryd glan, am brynedigaeth y byd, drwy angau a dioddefaint ein Iachawdur Crist Duw a dyn, Yr hwn a ymostyngodd i angau ar y groes drosom ni bechaduriaid truain, y rhai oeddem yn gorwedd mewn tywyllwch a chyscod angau, fel y galle efe ein gwneuthur ni yn blant i Dduw, a'n dyrchafel i fywyd tragywyddol. Ac er cofio o honom yn wastad ddirfawr gariad ein Harglwydd a'n unic Iachawdur Iesu Grist fel hyn yn marw drosom, a'r aneirif ddoniau daionus yr rhai (drwy dywallt ei werthfawr waed) a enillodd efe i ni: Efe a osododd, ac a ordeiniodd sanctaidd ddirgeledigaethau fel gwystlon o'i gariad, a gwastadol gof am ei angeu, er mawr ac anherfynawl gonfort i ni. Can hynny iddo ef, gyd â'r Tad, a'r Yspryd glân, rhoddwn (fel ydd ŷm rwymedicaf) wastadol ddiolch gan ymostwng yn gwbl i'w sanctaidd ewyllys ef: gan fyfyrio i'w wasanaethu ef mewn gwir sancteiddrwydd, a chyfiawnder, holl ddyddiau ein heinioes. Amen.

Yna y dywed yr Offeiriad wrth y rhai a fo yn dyfod i gymmeryd y Cymmun bendigedic.

Chwychwi y sâwl y sydd yn wîr, ac yn ddifrifol yn edifarhau am eich pechodau, ac y sydd mewn cariad perffaith a'ch cymmydogion, ac yn meddwl dilyn buchedd newydd, gan ganlyn gorchymynion Duw, a rhodio o hyn allan yn ei ffyrdd sanctaidd ef, Deuwch yn nês a chymmerwch y Sacrament sancteiddiol hwn i'ch conffordd, a gwnewch eich gostyngedic gyffes i'r Holl-alluog Dduw, gar bron y

gynnulleidfa

gynnulleidfa hon y sydd wedi ymgynnull yma yngh-hŷd yn ei sanctaidd enw ef, gan ostwng yn vfydd ar eich gliniau.

Yna y dywedir y gyffes gyffredin hon, yn enw pawb o'r rhai a fyddont ar feddwl cymmeryd y Cymmun bendigedig, y naill a'i gan vn o honynt hwy, a'i gan vn o'r Gweinidogion, a'i gan yr Offeiriad ei hun, gan ostwng o bawb yn vfydd ar eu gliniau.

OLl-alluog Dduw, Tad ein Harglwydd Iesu Grist, gwneuthur-wr pob dim, barn-wr pob dyn, yddŷm ni yn cydnabod, ac yn ymofidio dros ein amryw bechodau a'n anwiredd, y rhai o ddydd i ddydd yn orthrwm a wnaethom, ar feddwl, gair, a gweithred yn erbyn dy Dduwiol fawredd, gan annog yn gyfiawnaf dy ddigofaint ath fâr i'n herbyn. Yr ydym yn ddifrifol yn edifarhau, ac yn ddrwg gan ein calonnau dros ein cam-weithredoedd hyn, eu coffa sydrwm gennym, eu baich sydd anrhaith ei oddef: Trugarhâ wrthym, trugarhâ wrthym, drugarocaf Dâd, er mwyn dy vn Mâb ein Harglwydd Iesu Grist, maddeu i ni yr hyn oll a aeth heibio, a chaniatâ i ni allu bytho hyn allan, dy wasanaethu a'th fodloni, mewn newydd-deb buchedd, er anrhydedd a gogoniant dy enw; trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

Yna yr Offeiriad neu yr Escop (os bydd yn gydrychiol) a saif, gan droi at y bobl, a dywedyd fel hyn.

HOll-alluog Dduw, ein Tad nefawl, yr hwn o'i fawr drugaredd a addewis faddeuaint pechodau i bawb gan edifeirwch calon, a gwîr ffydd a ymchwel atto, a drugarhâo wrthych, a faddeuo i chwi, ac a'ch cadarnhâo ym-mhob daioni, ac a'ch dygo i fywyd tragywyddawl, trwy Iesu Grist ein Harglwydd, Amen.

Yn ôl hynny y dywed yr Offeiriad.

¶ Gwrandewch pa ryw eiriau cyssurddus a ddywed ein Iachawdur Crist wrth bawb a'r a wir ymchwelont atto ef. Deuwch attafi bawb ac y sydd yn trafaelu ac yn llwythog, a mi a esmwythaf arnoch. Felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddes efe ei vnig-enedic Fab, modd nad elai neb a gredai ynddo ef yng-hyfr-goll, namyn caffael bywyd tragywyddol.

¶ Gwrandewch hefyd beth y mae Sanct Paul yn ei ddywedyd.

Hwn sydd air gwir, a theilwng i bawb iw dderbyn, dyfod o Iesu Grist i'r byd hwn i iachâu pechaduriaid.

¶ Gwrandewch hefyd a ddywaid Ioan Sanct.

Os pecha neb, y mae i ni ddadleu-wr gyd â'r Tad, Iesu Grist y cyfion; ac efe yw yr aberth dros ein pechodau.

Yn ôl y rhai hyn yr aiff yr Offeiriad rhagddo, gan ddywedyd.

Derchefwch eich calonnau.

Atteb.

Yr ydym yn eu derchafael i'r Arglwydd.

Yr Offeiriad.

Diolchwn i'n Harglwydd Dduw.

Atteb.

Mae yn addas, ac yn gyfiawn gwneuthur hynny.

Yr Offeiriad.

Y mae yn gwbl addas, yn gyfiawn, a'n rhwymedic ddylêd ni yw, bob amser, ac ym-mhob lle, ddiolch i ti Arglwydd sanctaiddiol Dad, Oll-alluog, dragywyddol Dduw.

Yma issod y ceffir y rhagymadroddion priodawl wrth yr amser, os bydd yr vn wedi 'r osod yn espesawl. Ac onid e, yn ddi-dor yr ymlyn, Can hynny gyd ag Angelion, ac Arch-angelion, &c.

# Rhag-ymadroddion priawd.

Ar ddydd Natalic Christ, a saith niwrnod gwedi

AM i ti roddi Iesu Grist dy vn Mâb iw eni ar gyfenw i heddyw drosom ni: yr hwn trwy weithred yr Yspryd glân a wnaethpwyd yn wîr ddyn, o hanfod y forwyn Fair ei fam, a hynny heb ddim pechod i'n gwneuthur yn lân oddiwrth bob pechod. Gan hynny gyd ag Angelion, ac Archangelion, &c.

Ar ddydd Pasc a saith ddiwrnod gwedi.

ONd yn bendifaddeu, ydd ŷm yn rhwymedic i'th foliannu, dros anrhydeddus gyfodiad dy Fab Iesu Grist ein Harglwydd: canys efe yw'r gwîr oen Pasc yr hwn a offrymwyd drosom, ac a ddilêawdd bechod y byd, yr hwn trwy ei angeu ei hun a ddinistriodd angeu, a thrwy ei adgyfodiad i fywyd a adferodd i ni fywyd tragywyddol: Can hynny gŷd ag Angelion, &c.

Ar dydd Dyrchafael a saith ddydd gwedi.

TRwy dy annwylaf Fab Iesu Grist ein Harglwydd, yr hwn yn ôl ei anrhydeddus gyfodiad, a ymddangosodd yn gyhoeddus iw holl ddiscyblion, ac yn eu golwg, efe a ascynnod i'r nefoedd i baratoi lle i ni, bod i ni lle y mae efe ascynnu hefyd, a theyrnasu gyd ag ef mewn gogoniant: Can hynny gyd ag Angelion, &c.

Ar ddydd Sûl-gwyn, a chwe diwrnord yn ôl.

TRwy Iesu Grist ein Harglwydd, ac yn ôl ei gywiraf addewid y descynnodd yr Yspryd glân heddyw o'r nef, a disymwth swn mawr megis gwynt nerthoc,

 ar

ar wêdd tafodau tanllyd: gan ddeſcyn ar yr Apoſtolion i'w dyſcu hwynt, ac i'w harwain i bob gwirionedd, gan roddi iddynt ddawn amryw ieithoedd, a hyder hefyd gyd â chariad gwreſog, yn ddyfal i bregethu yr Efangel i'r cenhedloedd, o blegit yr hyn i'n dygpwyd allan o dywyllwch, a chyfeiliorni i'th eglur oleuni, ac i wir wybodaeth am danat ti, a'th Fâb Jeſu Griſt. Can hynny gyd ag Angelion &c.

Ar ddydd-gwyl y Drindod yn vnic.

YMae yn wir addas, yn gyfiawn, a'n rhwymedic ddylêd bod i ni bob amſer, ac ym-mhob lle, ddiolch i ti Arglwydd, Holl-alluog a thragywyddawl Dduw, yr hwn wyt vn Duw, vn Arglwydd, nid vn perſon yn vnic, onid tri pherſon mewn vn ſylwedd. Canys yr hyn yr ydym ni yn ei gredu am ogoniant y Tâd, hynny a gredwn am y Mâb, ac am yr Yſpryd glân heb wahanred, neu anghymmedr. Canhynny gyd ag &c.

Ar ôl y Rhagymadroddion hyn, y canlyn yn y ſan.

CAn hynny gyd ag Angelion ac Arch-angelion a chyd ag oll gwmpeini nef y moliannwn, ac y mawrhawn dy ogoneddus Enw, gan dy foliannu yn waſtad, a dywedyd, Sanct, Sanct, Sanct, Arglwydd Dduw yr lluoedd. Nef a daiar ſydd yn llawn o'th ogoniant: gogoniant a fo i ti Arglwydd goruchaf.

Yna yr Offeiriad ar ei liniau wrth ſwrdd yr Arglwydd a ddywed yn enw yr oll rai a gymmerant y Cymmun, yn y wedd y ſydd yn canlyn.

NId ŷm ni yn rhyfygu dyfod i'th fwrdd yma drugarog Arglwydd, gan ymddiried yn ein

cyfiawnder

cyfiawnder ein hunain, eithr yn dy aml a'th ddirfawr drugaredd di, nid ydym ni deilwng cymmaint ac i gasclu yr briwsion tan dy fwrdd: Eithr tydi yw yr un Arglwydd yr hwn biau o briodoldeb yn wastad drugarhâu. Caniatâ i ni gan hynny Arglwydd grasawl, felly fwyta cnawd dy annwyl Fab Jesu Grist, ac yfed ei waed ef, fel y gallo ein cyrph pechadurus gael eu gwneuthur yn lân drwy ei gorph ef, a'n eneidiau eu golchi drwy ei werthfawrocaf waed ef, fel y gallom byth drigo ynddo ef, ac ynte ynom ninnau, Amen.

Yna yr Offeiriad yn ei sefyll a ddywed fel y mae yn canlyn.

HOll-alluog Dduw ein Tad nefol, yr hwn o'th drugaredd a roddaist dy un Mab Jesu Grist i ddioddef angeu ar y groes er ein prynu, yr hwn a wnaeth yno (trwy ei offrymiad ei hun yn offrymedic unwaith) gyfiawn, berffaith, a digonawl aberth, offrwm, ac iawn, dros bechodau yr holl fyd; ac a ordeiniodd, ac yn ei sanctaidd Efangel a orchymynnodd i ni gadw tragywyddol goffa am ei werth-fawr angeu hynny, nes ei ddyfod trachefn. Gwrando ni drugarog Dad, ni a attolygwn i ti, a chaniata i ni, gan gymmeryd dy greaduriaid hyn o fara a gwin, yn ol sanctaidd ordinhad dy Fab Jesu Grist ein Jachawdur, er cof am ei angeu a'i ddioddefaint, allu bod yn gyfrannogion o'i fendigedic gorph a'i waed. Yr hwn ar y nos honno y bradychwyd a gymmerth fara, ac wedi iddo ddiolch Efe a'i torrodd, ac a'i rhoddes i'w ddiscyblion, gan ddywedyd: Cymmerwch, bwytewch,

hwn

hwn yw fynghorph yr hwn ydd ydys yn ei roddi drosoch, gwnewch hyn er cof am danaf. Yr un modd gwedi swpper, efe a gymmerth y cwpan, ac wedi iddo ddiolch, efe a'i rhoddes iddynt gan ddywedyd: Yfwch o hwn bawb, canys hwn yw fyng-waed o'r Testament newydd, yr hwn yr ydys yn ei dywallt drosoch, a thros lawer er maddeuaint pechodau: gwnewch hyn cynnifer gwaith ac ei hyfoch, er cof am danaf.

Yna y Gwenidog a gymmer y Cymmun yn y ddau ryw ei hun, ac yn nesaf y dyry i'r Gweinidogion eraill, (o bydd yno neb o honynt, fel y gallont gymmorth y Gwenidog pennaf) ac wedi hynny i'r bobl yn eu dwylaw yn ostyngedic ar eu gliniau: Ac wrth roddi y bara, efe a ddywed.

Corph ein Harglwydd Jesu Grist yr hwn a roddwyd drosot ti, a gadwo dy gorph a'th enaid i fywyd tragywyddol: a chymmer, a bwyta hwn, er cof farw Crist drosot, ac ymborth arno yn dy galon drwy ffydd, gan roddi diolch.

A'r Gwenidog a fo yn rhoddi y cwpan a ddywed.

Gwaed ein Harglwydd Jesu Grist yr hwn a dywalltwyd drosot, a gatwo dy gorph a'th enaid i fywyd tragywyddol: ac yf hwn er cof tywallt gwaed Crist trosot, a bydd ddiolchgar.

Yna yr Offeiriad a ddywed weddi yr Arglwydd, gan adrodd o'r bobl bob arch o honi ar ei ôl ef. Wedi hynny y dywedir fel y canlyn.

O Arglwydd, a nefawl Dad, yr ydym ni dy ostyngedic weision yn cwbl ddeisyfu ar dy dadol ddaioni, yn drugarog dderbyn ein haberth hyn o foliant a diolwch, gan erfyn arnat yn ostyngeiddiaf, bod trwy ryglyddon ac angeu dy Fab Jesu Grist, a thrwy ffydd yn ei waed ef, i ni ac i'th holl sanctaidd Eglwys gaffael maddeuant o'n pechodau, a phob doniau eraill o'i ddioddefaint ef. Ac yma yddŷm yn offrwm ac yn cynnyrchu i ti Arglwydd, ein hunain, ein eneidiau, a'n cyrph, i fod yn aberth rhesymol, sanctaidd, a bywiol i ti, gan adolygu it yn ostyngedic allel o bawb o honom y sy gyfrannogion o'r Cymmun bendigeid hwn, gael ein cyflawni â'th rad, ac â'th nefol fendith. Ac er ein bod ni yn anheilwng drwy ein amrafaelion bechodau, i offrwm i ti un aberth: etto ni a attolygwn i ti gymmeryd ein rhwymedig ddylêd, a'n gwasanaeth hyn, nid gan bwyso ein haeddedigaethau, onid gan faddeu ein pechodau, trwy Jesu Grist ein Harglwydd, trwy yr hwn, a chŷd â'r hwn, yn undawd yr Yspryd glan, holl anrhydedd a gogoniant a fyddo i ti Dad holl-alluog, yn oes oesoedd. Amen.

## Neu hyn.

HOll-alluog, a byth-fywiol Dduw, yr ydym ni yn dirfawr ddiolch i ti, am fod yn wiw gennit ein porthi ni, y rhai a gymmerasom yn ddyledus y dirgeledigaethau sancteiddiol hyn, ag ysprydawl ymborth o werthfawrocaf gorph a gwaed dy Fab ein Jachawdur Jesu Grist, Ac wyt yn ein cadarnhau drwy hynny o'th ymgeledd, ac o'th ddaioni i ni, a'n bod yn wîr aelodau, wedi ein corphi yn dy ddirgel gorph di, yr hwn yw y wynfydedic gynnulleidfa o'r holl ffyddlō bobl. A'n bod hefyd trwy obaith yn etifeddion dy deyrnas dragywyddol, gan haeddedigaethau gwerthfawrocaf angau a dioddefaint

dy

dy annwyl Fab: Ydd ym ni yr awr hon yn ostyngedic yn attolygu i ti nefawl Dad, fod felly ein cynnorthwyaw â'th râd, fel y gallom yn wastad aros yn y sanctaidd gymdeithas honno, a gwneuthur pob rhyw weithredoedd da ar a ordeiniaist i ni rodio ynddynt, trwy Iesu Grist ein Harglwydd, i'r hwn gyd â thi a'r Yspryd glân, y bo holl anrhydedd, a gogoniant yn dragywyddol. Amen.

Yna y dywedir, neu y cenir.

GOgoniant i Dduw yn yr uchelder, ac yn y ddaiar tangnheddyf, ewyllys da i ddynion. Ni a'th addolwn, ni a'th fendithiwn, ni a'th anrhydeddwn, ni a'th ogoneddwn, i ti y diolchwn am dy fawr ogoniant, Arglwydd Dduw frenin nefol, Duw Tad holl-alluog, Arglwydd, yr unic genedledic Fab Iesu Grist, Arglwydd Dduw, Oen Duw, Fab y Tad, yr hwn wyt yn deleu pechodau yr byd, trugarhâ wrthym. Ti yr hwn wyt yn deleu pechodau yr byd, trugarhâ wrthym. Ti yr hwn wyt yn deleu pechodau yr byd derbyn ein gweddi. Ti yr hwn wyt yn eistedd ar ddeheu-law Dduw Tad, trugarhâ wrthym. Canys ti yn unic wyt sanctaidd, ti yn unic wyt Arglwydd, ti yn unic Grist, gyd a'r Yspryd glân wyt oruchaf yng-ogoniant Duw Tad. Amen.

Yna yr Offeiriad, neu yr Escop, os bydd efe yn bresennol a ollwng y bobl ymaith â'r fendith hon.

TAngneddyf Duw yr hwn sydd uchlaw pob deall, a gatwo eich calõnau a'ch meddyliau yng-wybodaeth a chariad Duw, a'i

a'i Fab Iesu Grist ein Harglwydd. A bendith Dduw holl-alluog, y Tad, y Mab, a'r Yspryd glan a fyddo i'ch plith, ac a drigo gyd a chwi yn wastad. Amen.

Colectau iw dywedyd yn ol yr offrymiad, pryd na bo vn Cymmun, bob ryw ddiwrnod, vn. A'r vn rhai, a ellir eu dywedyd hefyd cynifer amser ac y byddo achos yn gwasanaethu, wedi yr Colectau ar y foreuol neu'r Brydnhawnol weddi, y Cymmun, neu yr Letani, fel y gwelo yr Gwenidog fod yn gymhesur.

CYmmorth wy a ni yn drugarog Arglwydd, yn ein gweddiau hyn, a'n erfyniau, a llywodraetha ffordd dy wasanaeth-ddynion tu ag at gaffaeliad iechyd tragywyddawl, fel ym-mysc holl gyfnewidiau a damweiniau yr bywyd marwol hwn y gallont byth gael eu hamddeffyn drwy dy radlawnaf a'th barotaf borth, trwy Grist ein Harglwydd Amen.

HOll-alluog Arglwydd, a byth-fywiol Dduw, ni a attolygwn iti fod yn wiw gennit vniawni, sancteiddio, a llywodraethu ein calonnau a'n cyrph yn ffyrdd dy ddeddfau, ac yng-weithredoedd dy orchymynnion, megis trwy dy gadarnaf nodded, yma ac yn dragywyddol, y gallom fod yn gadwedic gorph ac enaid, trwy ein Harglwydd a'n Iachawdur Iesu Grist. Amen.

CAniatà ni a attolygwn i ti Holl-alluog Dduw, am y geiriau a glywsom heddyw â'n clustiau oddi allan, eu bod felly drwy dy râd, wedi eu plannu yn ein calonnau oddi mewn, fel y gallont ddwyn ynom ffrwyth buchedd dda, er anrhydedd a moliant i'th Enw, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

Rhag-flaena

RHag-flaena ni Arglwydd, yn ein holl weithredoedd â'th radlonaf hoffter, a rhwyddhâ ni â'th barhaus gymmorth fel yn ein holl weithredoedd dechreuedic, anherfynnedic, a therfynedic, ynott y gallom foliannu dy sanctaidd Enw, ac yn y diwedd gael gan dy drugaredd fywyd tragywyddol, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

HOll-alluog Dduw, ffynnon yr holl ddoethineb, yr hwn wyt yn gwybod ein angenrhaidiau cyn eu gofynnom, a'n anwybodaeth yn gofyn: Ni a attolygwn i ti dosturio wrth ein gwendid, a'r pethau hynny y rhai oblegid ein anheilyngdod ni feiddiwn, ac o blegit ein dallineb ni fedrwn eu gofyn, fod yn deilwng gennit eu rhoddi i ni er teilyngdod dy Fab Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

HOll-alluog Dduw, yr hwn a addewaist wrando eirchion y rhai a ofynnant yn Enw dy Fab, ni a attolygwn i ti ostwng yn drugarog dy glustiau attom ni, y rhai a wnaethom yr awr hon ein gweddiau a'n erfynnion attat, a chaniattâ y pethau hyn a archasom yn ffyddlawn yn ôl dy ewyllys, allu eu caffael yn hollawl i borthi ein hangen, ac er eglurhau dy ogoniant, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

Ar ddyddiau gwyliau oni bydd Cymmun y dywedir cwbwl ac a osodwyd ar y Cymmun, hyd ddiwedd yr homeli, gan ddibennu gyda'r weddi gyffredin (Dros holl ystâd Eglwys Grist yn milwrio yma ar y ddaiar) ac vn neu ychwaneg o'r Colectau vchod, fel y bo yr achos yn gwasanaethu.

Ac yna ni bydd gwasanaethu Swpper yr Arglwydd, oddieithr bod swrn o bobl i gymmuno gyd â'r offeiriad, fel y gwelo efe fod yn iawn.

Ac oni bydd mwy nac vgein-nyn yn y plwyf o bwyll i gymmeryd y Cymmun bendigedic, etto ni bydd yna vn Cymmun, oni bydd pedwar, neu dri o'r lleiaf i gymmuno gyd a'r offeiriad.

Ac mewn mam-Eglwysydd, ac Eglwysi Collegiat, lle byddo llawer o Offeiriaid, a Diaconiaid, cymmerant hwy oll y Cymmun gyd a'r Gwenidog bob Sul o'r lleiaf, oni bydd ganddynt achos rhesymol i'r gwrthwyneb.

Ac er deleu yr ofer-goel y sydd, neu a allo fod gan neb yn y bara ar gwîn, fe a wasanaetha bod y bara yn gyfryw ac y sydd arferedic iw fwyta ar y bwrdd, gyd â bwydydd eraill, eithr y bara gwenith o'r gorau, a'r puraf ar a aller ei gael yn weddaidd. Ac o gweddilla peth o'r bara neu yr gwîn, y Curat ai' caiff iw fwyniant ei hun.

Y bara ar gwîn i'r Cymmun a baratoir gan y Curat a'r wardeniaid yr Eglwys, ar gôst y plwyf, a'r plwyf a rydd-heir o ryw symmau arian, neu ddyledion eraill yr oeddynt arferedic o'r blaen i'w talu am danaw, wrth ddygymmod eu tai bob Sul.

Noda hefyd, bod i bob plwyfol Gymmuno o'r lleiaf dair gwaith yn y flwyddyn, ac o hynny bod y Pâsc yn vn; a chymeryd hefyd y Sacramentau a'r defodau eraill, yn ol y drefn osodedic yn y llyfr hwn. A'r Pâsc bob blwyddyn, bod i bob plwyfol gyfrif a'i Berson, Vicar, neu ei Curat, neu ei brocurator, neu ei brocuratoriaid, a thalu iddynt, neu iddo ef holl ddyledion Eglwysic, yn arferedic ddyledawc yna, ac ar yr amser hynny iw talu.

# Gwaſanaeth y Bedydd *y ſydd iw arfer yn yr* Eglwys.



Mae yn eglur trwy hên ſcriſenyddion, nad oeddid yn gyffredinol yn yr hen amſer, yn arfer o waſanaethu Sacrament y Bedydd, oddieithr dau amſer yn y flwyddyn: ſef y Paſc ar Sul-gwyn. Ac ar yr amſerau hynny y gwaſanaethid ef ar gyhoedd yng-wydd yr holl gynnulleidfa. Yr hon ddefod yn awr aeth yn anarferol (cyd na ellir er mwyn llawer o achoſion ei hadnewyddu) er hynny fe a gredir bod yn iawn canlyn y ddefod honno cyn neſed ag y gellid yn gymheſur. O blegit paham, rhybyddier y bobl, fod yn gymheſuraf na waſanaether y Bedydd namyn ar y Suliau, a dyddiau gwyliau eraill, pan allo y niſer mwyaf o'r bobl ddyfod yng-hyd, yn gyſtal er mwyn bod i'r gynnulleidfa yno yn breſennol deſtiolaethu erbyniad y ſawl a fedyddier yr amſer hynny i niſer Eglwys Griſt, a heſyd o blegit ym-medydd rhai bychain bod i bob dyn a fo yno yn breſennol, alw ei gof atto am ei broffes a'i addewid a wnaeth efe gynt yn ei fedydd. Herwydd hynny heſyd y mae yn rhaidiol bod gwaſanaeth y bedydd yn ein hiaith Camberaec. Ac er hyn yma oll (os bydd anghenrheidiol) fe a ellir bedyddio rhai bychain bob amſer gartref.

## *Bedydd Public.*

Pan fyddo plant iw bedyddio ar ddydd Sul, neu ddydd gwyl arall, fe a ddyle eu tadau roddi rhybudd tros nos, neu

y borau

y borau cyn dechreu y foreuol weddi, i'r Curat. Yna bydded y tadau bedydd, a'r mammau bedydd a'r bobl yn barod wrth y Bedyddfan : ynaill ai yn y man ar ôl y llîth ddiwethaf o'r foreuol weddi, neu ynte yn y man yn ôl y llith ddiwethaf ar y Brydnhawnol weddi, megis y gosoto y Curat yn ôl ei ystyriaeth ei hun. Ac yn sefyll yno gofynned yr Offeiriad, a fedyddiwyd y plant, a'i na fedyddiwyd? os attebant, Na ddo: yna dyweded yr Offeiriad fel hyn.

FYng-haredigion, yn gymmaint ac ymddwyn a geni pob dyn mewn pechod, a bod ein Iachawdur Crist yn dywedyd, na ddichon neb gael myned i mewn i deyrnas Duw, oddieithr ei ail-eni ef o ddwfr a'r Yspryd glân: Atolwg ydd wyf i chwi alw ar Dduw Tâd, trwy ein Harglwydd Iesu Grist, hyd oni fo iddo o'i ddaionus drugaredd ganiatâu i'r plant hyn (y peth drwy nerth natur ni allant ddyfod iddo) gael eu bedyddio â dwfr, ac â'r Yspryd glân, a'u derbyn i lân Eglwys Grist, a bod yn aelodau bywiol o'r un-rhyw.

Yna y dywed yr Offeiriad.

Gweddiwn.

HOll-alluog a thragywyddol Dduw, yr hwn o'th fawr drugaredd a gedwaist Noe a'i deulu yn yr Arch rhag eu cyfrgolli gan ddwfr; a hefyd a dywysaist yn ddiangol blant yr Israel dy bobl drwy yr môr côch, gan arwyddocau wrth hynny dy lân fedydd, a thrwy fedydd dy garedic Fâb Iesu Grist a sanctaiddiaist afon Iorddonen, a phob dwfr arall, er dirgel olchedigaeth pechodau:

Atolygwn i ti er dy aneirif drugareddau, edrych o honot yn drugarog ar y plant hyn, eu sancteiddio hwy, a'u glanhau â'r Yspryd glân, fel y byddo iddynt hwy yn waredawg oddi wrth dy lid, gaffael eu derbyn i Arch Eglwys Grist, a chan fod yn gedyrn mewn ffydd, yn llawenion gan obaith, ac wedi ymwreiddio yng-hariad perffaith, allu o honynt fordwyo tros donnau y byd trallodus hwn, ac o'r diwedd, allu dyfod i dir y bywyd tragywyddawl, yno i deyrnasu gyd â thi heb drangc na gorphen, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

HOll-alluog ac anfarwol Dduw, porth pob anghenog, nawdd-wr pawb a gilio attat am gynhorthwy, bywyd y rhai a gredant, a chyfodiad y meirw: ydd ŷm yn galw arnat tros y rhai bychain hyn, ar iddynt hwy yn dyfod i'th lân fedydd, gael derbyn maddeuaint o'u pechodau drwy adenedigaeth ysprydol. Derbyn hwy Arglwydd megis yr addewaist trwy dy garedic Fâb, gan ddywedyd; Gofynnwch, a rhoddir i chwi, Ceisiwch a chwi a gewch, Curwch ac fe agorir i chwi. Felly yn-awr dyro i ni, a ni yn gofyn, par i ni gael, a ni yn ceisio; agor y porth i ni y sy yn curo; fel y gallo y rhai bychain hyn fwynhau tragywyddol fendith dy nefol olchiad, a dyfod i'r deyrnas dragywyddawl yr hon a addewaist trwy Grist ein Harglwydd. Amen.

Yna y dywed yr Offeiriad, Gwrandewch ar eiriau yr Efangel a scrifennodd Sanct Marc yn y ddecfed bennod.

Marc. 10. 13 R amser hynny y dugasant blant bychain at Grist, fel y cyffyrdde efe â hwynt: a'r discyblion a geryddent y rhai a'u dugase hwynt; A'r Iesu pan welodd hynny

fu

fu anfodlon, ac a ddywedodd wrthynt: gedwch i'r plant bychain ddyfod attaf, ac na waherddwch hwynt: canys i'r cyfryw y perthyn teyrnas Dduw. Yn wîr y dywedaf wrthych, pwy bynnac ni dderbynnio deyrnas Dduw fel plentyn nid aiff i mewn iddi. Ac efe a'u cofleidiodd hwynt, ac a ddodes ei ddwylaw arnynt, ac a'u bendithiodd.

Yn ôl darllen yr Efangel, y traetha y Gwenidog y cyngor byr hwn-yma ar eiriau yr Efangel.



Y Caredigion, chwi a glywch yn yr Efangel hon eiriau ein Iachawdur Crist, yn gorchymyn dwyn plant atto, pa wedd y ceryddodd efe y rhai a fynnasent eu cadw oddi-wrtho; pa wedd y cynghora efe i bob dyn ganlyn eu gwiriondeb hwy. Yr ydych chwi yn deall wrth ei agwedd ef a'i weithred modd y dangoses ei ewyllys da iddynt: Canys efe a'u cofleidiodd hwy yn ei freichiau, efe a roddodd ei ddwylaw arnynt, ac a'u bendithiodd hwynt. Nac amheuwch gan hynny, eithr credwch yn ddifrif, y cymmer efe yr un ffunyd yn ymgeleddgar y rhai bychain hyn-yma, y cofleidia efe hwy â breichiau ei drugaredd, y dyru iddynt fendith y bywyd tragywyddawl, ac y gwna hwy yn gyfrannogion o'i ddidranc deyrnas. O herwydd pa ham (gan ein bod ni yn credu fel hyn am ewyllys da ein Tâd nefol tu ag at y rhai bychain hyn, wedi ei amlygu trwy ei Fâb Iesu Grist, ac heb ddim ammau ei fod efe yn caniatau yn ewyllyscar ein gweithred gardodawl hon yn dwyn y plant hyn i'w sanctaidd Fedydd ef) diolchwn yn ffyddlon, ac yn ddefosionol iddo, gan ddywedyd.

HOll-alluog a thragwyddol Dduw, Nefol Dâd, ydd ŷm yn ostyngedic yn diolch i ti fod yn wiw gennit ein galw i wybodaeth dy râd, a ffydd ynot: Ychwanega yr wybodaeth hon, a chadarnhâ y ffydd hon ynom yn wastad; dyro dy Yspryd glân i'r rhai bychain hyn, fel y ganer hwy eilwaith, a'u gwneuthur yn etifeddion Iechyd tragywyddol, trwy ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn sydd yn byw, ac yn teyrnasu gyd â thi, a'r Yspryd glân yr awr hon ac yn dragywydd. Amen.

Yna dywedet yr Offeiriad wrth y Tadau-bedydd ar Mammau-bedydd yn y modd hyn.

Y Caredigion bobl, chwi a ddugasoch y plant hyn yma iw bedyddio, chwi a weddiasoch ar fod yn wiw gan ein Harglwydd Iesu Grist eu derbyn hwy, rhoddi ei ddwylo arnynt, eu bendithio, maddeu eu pechodau, rhoddi iddynt deyrnas nefoedd a bywyd tragywyddol. Chwi a glywsoch hefyd ddarfod i'n Harglwydd Iesu Grist addo yn ei Efangel ganhiadu yr holl bethau hyn a weddiasoch chwi am danynt: yr hwn addewid efe o'i ran ef a'i ceidw yn wîr ddiogel, ac a'i cwplâ. Herwydd pa achos yn ôl yr addewid hyn a wnaeth Crist, rhaid yw i'r rhai bychain hyn yn ffyddlon, ar eu rhan hwythau addo trwyoch-chwi y sy yn feichiau drostynt, ymwrthod â diafol, a'i holl weithredoedd, ac yn wastad credu gwynfydedic air Duw, ac yn ufydd cadw ei orchymynnion.

Yna yr ymofyn yr Offeiriad â'r Tadau-bedydd, a'r Mammau-bedydd yr ymofynion hyn isod.

A Ydwyt ti yn ymwrthod â diafol, ac â'i holl weithredoedd, coeg rodres, a gwag-orfoledd y byd, a'i holl

holl chwantau cybyddus, anysprydol ewyllys y cnawd, fel na ddilynech, ac n'ath dywyser ganddynt?

Ateb.

Yr ydwyf yn ymwrthod â hwynt oll.

Gwenidawc.

A Wyt ti yn credu yn Nuw Tâd holl-gyfoethog, Creawdr nef a daiar? Ac yn Iesu Grist ei vn Mab ef ein Harglwydd? A'i genhedlu o'r Yspryd glân? A'i eni o Fair forwyn? iddo ddioddef dan Pontius Pilatus, ei groes-hoelio, ei farw a'i gladdu? descyn o honaw i vffern, a'i gyfodi y trydydd dŷdd, ac ascyn i'r nefoedd, a'i fod yn eistedd ar ddeheu-law Dduw Tâd holl-alluog, ac oddi yno y daw efe yn niwedd y bŷd i farnu byw a meirw? A wyti yn credu yn yr Yspryd glân, yr Eglwys lân Gatholic, Cymmun y saínct, maddeuaint pechodau, adgyfodiad y cnawd, a bywyd tragywyddol gwedi angeu?

Ateb.

Hyn oll ydd wyf yn ei gredu yn ddilys.

Gwenidog.

A fynni di dy fedyddio yn y ffŷdd hon?

Ateb.

Hynny yw fy ewyllys.

Yna y dywed yr Offeiriad.



O Drugarog Dduw, caniatâ felly gladdu yr hên Adda yn y plant hyn, fel y cyfoter y dyn newydd ynddynt hwy. Amen.

Caniatâ fod i'r holl chwantau cnawdol farw ynddynt, ac i bob peth a berthyn i'r Yspryd allu byw a chynyddu ynddynt. Amen.

Caniatâ fod iddynt nerth a gallu i gael yr oruchafiaeth, a gorfod yn erbyn diafol, y byd, a'r cnawd. Amen.

Caniatâ fod i bwy bynnac y sydd yma wedi ei gysegru iti trwy ein swydd a'n gweinidogaeth ni, allu hefyd bod yn gynyscaeddol o rinweddau nefol, a bod iddynt eu tragywyddol obrwyau drwy dy drugaredd, ô fendigedic Arglwydd Dduw, yr hwn wyt yn byw, ac yn llywiaw pob peth, yn oes oesoedd. Amen.

Holl-gyfoethog fyth-fywiol Dduw, yr hwn y bu i'th garedicaf Fâb Iesu Grist dros faddeuant o'n pechodau oddef gollwng o'i werth-fawr ystlys ddwfr a gwaed, a rhoddi gorchymyn i'w ddiscyblion fyned a dyscu pob cenedl, a'u bedyddio yn Enw y Tâd, a'r Mâb, a'r Yspryd glân: Ystyria atolwg i ti wrth weddiau dy gynnulleidfa, a chaniatâ bod i bawb o'th weision a fedyddier yn y dwfr hwn, dderbyn cyflawnder dy rad, ac aros byth yn nifer dy ffyddlon blant etholedig, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

Yna y cymmer yr Offeiriad y dyn bychan yn ei ddwylaw, ac y gofyn yr enw. A chan enwi y plentyn efe a'i trocha efyn y dwfr, a hynny yn ddiesceulus, ac yn ddarbodus, gan ddywedyd.

N. Yr ydwyfi yn dy fedyddio di yn Enw'r Tad a'r Mab, a'r Yspryd glan. Amen.

Ac o bydd y dyn bychan yn wan, digon fydd bwrw dwfr arnaw, gan ddywedyd y geiriau dywededic vcho.

N. Yr ydwyfi yn dy fedyddio di yn Enw 'r Tad, a'r Mab, a'r Yspryd glan. Amen.

Yna gwneled yr Offeiriad groes yn-nhalcen y dyn bach, gan ddydwedyd.

Yr

YR ydym ni yn derbyn y plentyn hwn i gynnulleidfa defeid Crist, ac yn ei nodi ef ag arwydd y grôg, yn arwyddocâu na bo iddo rhag-llaw gymmeryd yn gywilydd gyffessu ffydd Crist groes-hoeliedig, ac iddo ymladd yn wrol tan ei faner ef, yn erbyn pechod, y byd, a'r cythrael, a pharhau yn filwr ffyddlawn ac yn wâs i Grist holl ddyddiau ei einioes. Amen.

Yna y dywed yr Offeiriad.

CAn ddarfod yn awr, garedigion frodyr, ad-eni, a dodi y plant hyn yng-horph cynnulleidfa Crist, diolchwn ninnau i Dduw am ei ddaioni hyn, ac o gyd-undab gwnawn ein gweddiau ar y Goruchaf Dduw, ar fod iddynt hwy ddiweddu y rhan arall o'u bywyd yn ôl hyn o ddechreuad.

Yna y dywedir.

Ein Tâd yr hwn wyt yn y nefoedd, &c.

Yna y dywed yr Offeiriad.

MAwr ddiolchwn i ti drugarocaf Dâd, ryngu bodd it' ad-eni y plentyn hwn â'th Yspryd glân, a'i dderbyn yn blentyn dewisol i ti dy hun, a'i gorphori i'th gynnulleidfa sanctaidd: Ac yn ostyngedic yr attolygwn i ti ganiatâu, gan ei fod efe yn farw o ran pechod, ac yn byw tu a chyfiawnder, ac yn gladdedic gyd â Christ yn ei angeu, allu croes-hoelio yr hên ddyn, ac yn hollawl ymwrthod ag oll gorph pechod, a megis y mae efe wedi ei wneuthur yn gyfrannog o angeu dy Fâb, iddo fod yn gyfrannog o'i gyfodiad, ac felly o'r diwedd, yng-hŷd â'r rhan arall o'th sanctaidd gynnulleidfa, bod o honaw yn etifedd dy deyrnas dragywyddol, drwy Jesu Grist ein Harglwydd. Amen.

Ac yn y pen diwethaf, yr Offeiriad, gan alw y Tadau-bedydd, a'r Mammau-bedydd yng-hyd a ddywed hyn o fyr athrawiaeth yma iso.



**Ngymmaint a darfod i'r plant hyn addo trwoch-chwi, ymwrthod â diafol, a'i holl weithredoedd, credu yn-Nuw, a'i wasanaethu ef: Rhaid yw i chwi feddwl, mai eich rhan a'ch dylêd yw, gweled dyscu o'r plant hyn, cyn gynted ag y gallont ddyscu, pa ryw hynod adduned, addewid, a phroffes a wnaethant drwyoch-chwi. Ac er mwyn gallu o honynt wybod hyn yn well, chwi a elwch arnynt i wrando pregethau. Ac yn bendifaddeu rhaid yw i chwi weled dyscu o honynt y Gredyniaeth, Gweddi yr Arglwydd, a'r dec gorchymyn yn yr iaith a ddeallont, a phob peth arall a ddylei Cristion ei wybod, a'i gredu er iechyd i'w enaid, a bod meithrin y plant hyn yn rhinweddol, i'w hyweddu mewn buchedd dduwiol a Christionogawl, gan goffa yn wastad, bod Bedydd yn arwyddocau i nyni ein proffess, nid amgen, canlyn o honom esampl ein Iachawdur Crist, a'n gwneuthur yn gyffelyb iddo ef: Ac fel y bu efe farw, ac y cyfodes drachefn drosom, felly y dylem ni y rhai a fedyddiwyd, farw oddi wrth bechod a chyfodi i gyfiawnder, gan farwolaethu yn wastad ein holl ddrygioni, a'n gwyniau llygredic, a pheunydd myned rhagom ym-mhôb rhinwedd dda, a buchedd dduwiol**

Y Gwenidog a orchymyn ddwyn y plant at yr Escob i'w conffirmo ganddo, cyn gynted ac y medront ddywedyd yn eu tafod-iaith gyffredin byngciau y ffydd, Gweddi yr Arglwydd, a'r deng-air Deddf, a bod hefyd wedi eu haddyscu yn y Catechism a osodwyd ar fedr hynny, yn berthynasol megis y mae yn eglur yno.

Am

# Am y rhai a Fedyddiwyd
## *mewn tai diawdurdod ar amſer anghenrhaid.*




Id i'r Bugeiliaid Eglwyſic, a'r Curadiaid rybuddio yn fynych y bobl, nad oedant fedydd y plant bellach nâ'r Sûl, neu yr dydd gwyl neſaf yn ol geni y plentyn; oddi eithr am achos mawr a rheſymol a yſpyſer i'r Curat, ac a dderbynio yntef.

Ac hefyd hwynt a'u rhybuddiant, na fedyddiont eu plant gartref yn eu tai, heb achos mawr ac angen: a phan gymhello anghenrhaid iddynt wneuthur hynny, yna iddynt ei wneuthur yn y modd hyn.

Yn gyntaf y rhai a fyddont yn y fan, galwant ar Dduw am ei râd, a dywedant weddi yr Arglwydd, os gâd yr amſer; Ac yna vn o honynt a henwa yr plentyn, a'i drochi yn y dwfr, neu fwrw dwfr arnaw, gan ddywedyd y geiriau hyn.

**N. Yr wyfi yn dy fedyddio di yn Enw y Tad, ar Mab, ar Yſpryd glan. Amen.**

Ac nac amheuant am y dyn-bach a fedyddier felly, nad yw efe wedi ei fedyddio yn ddeddfol, ac yn ddigonol, Ac na ddyleir ei fedyddio mwy yn yr Eglwys. Eithr er hynny igyd, os y plentyn yr hwn a fedyddiwyd yn y modd hwn a fydd byw rhag llaw, iawn fydd ei ddwyn ef i'r Eglwys, fel y gallo yr Offeiriad holi, a threio a fedyddiwyd y plentyn yn ddeddfol, ai na ddo. Ac os y rhai a ddugant y plentyn i'r Eglwys, a atebant ddarfod ei fedyddio

ddio eusus, yna holed yr Offeiriad hwy ym-mhellach, gan ddywedyd.

Gan bwy y bedyddiwyd y dyn bychan?

Pwy oedd yn y fan, pan fedyddiwyd y dyn-bychan?

A alwasant hwy ar Dduw am râd a chymmorth yn yr angenrhaid hwnnw?

A pha beth, neu â pha ddefnydd y bedyddiasant hwy y plentyn?

A pha eiriau y bedyddiwyd y plentyn?

A ydynt hwy yn tybied fod y plentyn wedi ei fedyddio yn ddeddfol ac yn berffaith?

Ac os y Gwenidog a brawf wrth atebion y rhai a ddugasant y plentyn atto, fod pob peth wedi ei wneuthur modd y dylei: Yna na fedyddied efe y plentyn trachefn, eithr ei dderbyn yn vn o nifer y gwir Gristionogion, gan ddywedyd fel hyn.

Yr ydwyfi yn hyspysu i chwi wneuthur o honoch yn dda yn y treigl hyn, ac wrth iawn drefn berthynasol wrth fedyddio y plentyn yma, yr hwn wedi ei eni mewn pechod dechreuol, ac mewn digofeint Duw, sydd yn-awr drwy olchiad yr ad-enedigaeth ym-medydd, wedi ei dderbyn yn rhif plant Duw, ac etifeddion bywyd tragywyddol: Canys nid yw ein Harglwydd Iesu Grist yn necâu ei rad a'i drugaredd i gyfryw rai bychain, ond y mae yn garueiddiaf yn eu gwahodd atto, megis y tystia yr Efangel fendigedic er ein conffordd, yn y wedd hon.

Marc.10.13. YR amser hynny y dugasant blant bychain at Grist fel y cyffyrdde efe â hwynt; a'r discyblion a geryddent y rhai a'u dugase hwynt; A'r Iesu pan welodd hynny fu anfodlon, ac a ddywedodd wrthynt, gedwch i'r plant bychain ddyfod attafi, ac na waherddwch hwynt: canys i'r cyfryw y perthyn teyrnas Dduw. Yn wir y dywedaf wrthych, Pwy

bynnac

bynnac ni dderbynio deyrnas Dduw fel plentyn nid aiff i mewn iddi. Ac efe a'u cofleidiodd hwynt, ac a ddodes ei ddwylaw arnynt, ac a'u bendithiodd.

Yn ôl darllen yr Efangel, y traetha y Gwenidog y cyngor hwn-yma ar eiriau yr Efangel.

Y Caredigion, chwi a glywch yn yr Efãgel hon eiriau ein Iachawdur Crist, yn gorchymyn dwyn plant atto, pa wedd y ceryddodd efe y rhai a fynnasent eu cadw oddi wrtho, pa wedd y cynghora efe i bob dŷn ganlyn eu gwiriondeb hwy. Yr ydych chwi yn deall wrth ei agwedd ef a'i weithred, modd y dangoses ei ewyllys da iddynt: canys efe a'u cofleidiodd hwy yn ei freichiau, efe a ddododd ei ddwy-law arnynt, ac a'u bendithiodd hwynt. Nac amheuwch gan hynny, eithr credwch yn ddifrif, ddarfod iddo gymmeryd yr vn ffynyd yn ymgeleddgar y dyn-bychan hwn yma, a'i gofleidio a breichiau ei drugaredd, rhoi iddo fendith y bywyd tragywyddol, a'i wneuthur yn gyfrãnog o'i ddidrangc deyrnas. Herwydd pa ham, a nyni yn credu fel hyn am ewyllys da ein Tad o'r nef, wedi ei amlygu trwy ei Fâb Iesu Grist tu ag at y dyn-bychan hwn: diolchwn yn ffyddlon, ac yn ddefosionol iddo, gan ddywedyd y weddi yr hon y sydd o addysc yr Arglwydd ei hun; ac er manegi ein ffŷdd, adroddwn y pyngciau a gynhwysir yn ein Credo.

Yna yr Gwenidog gyd â'r Tadau-bedydd, a'r Mammau-bedydd a ddywedant.

¶ Ein Tâd yr hwn wyt yn y nefoedd, &c.

Yma y gofyn yr Offeiriad enw y dyn-bychan, a phan ddarffo i'r Tadau-bedydd, a'r Mammau-bedydd ei adrodd, y Gwenidog a ddywed.

A yd-

A ydwyt ti yn enw y plentyn hwn yn ymwrthod â diafol a'i holl weithredoedd, gwag rodres a gogoniant y byd, a'i holl chwantau cubyddus, trythyll ewyllysion y cnawd, ac na chanlynech, ac na'th dywyser ganddynt?

Ateb.

Ydd wyfi yn ymwrthod â hwynt oll.

Gwenidawe.

A wyt ti yn enw y plentyn hwn yn proffessio y ffydd hon, yn credu yn-Nuw Dad, holl-gyfoethog, Creawdr nef a daiar? Ac yn Iesu Grist ei vn Mâb ef, ein Harglwydd, a'i genhedlu o'r Yspryd glân, ei eni o Fair wyryf, iddo ddioddef dan Bontius Pilatus, ei roddi ar bren crog, ei farw, a'i gladdu, descyn o honaw i vffern, a'i gyfodi y trydydd dydd, ac ascyn i'r nefoedd, a'i fod yn eistedd ar ddeheu-law Duw Tâd holl-alluog, ac oddi yno y daw yn-niwedd y byd i farnu byw a meirw? A ydwyt ti yn credu yn yr Yspryd glân, yr Eglwys lân Gatholic, Cymmun y sainct, maddeuaint pechodau, adgyfodiad y cnawd, a bywyd tragywyddol gwedi angeu?

Ateb.

Hyn yma oll yr wyfi yn ei gredu yn ddilys.

Gweddiwn.

HOll-alluog a thragywyddol Dduw, Nefol Dâd, ydd ŷm ni yn ostyngedic yn diolch i ti fod yn wiw gennit ein galw i wybodaeth dy râd, a ffŷdd ynot: ychwanega yr wybodaeth hon, a chadarnhâ y ffydd hon ynom yn wastad, dyro dy Yspryd glân i'r plentyn hwn, fel y ganer efe eil-waith, a'i wneuthur yn etifedd Iechyd tragywyddol, trwy ein Harglwydd Iesu Grist, i allu parhau yn wâs i ti, a mwynhau dy addewid trwy yr vn-rhyw ein Harglwydd Iesu Grist dy Fâb, yr hwn sydd yn byw

ac yn teyrnasu gyd â thi, a'r Yspryd glân yr awr-hon ac yn dragywydd. Amen.

Yna gwnaed y Gwenidog yr exhortasion hon wrth y Tadau a'r Mammau-bedydd.

YN gymmaint a darfod i'r plentyn hwn addo trwyoch chwi, ymwrthod â diafol a'i holl weithredoedd, credu yn-Duw, a'i wasanaethu, rhaid i chwi feddwl mai eich rhan a'ch dyled yw gweled dyscu o'r plentyn hwn cyn gyflymed ag y gallo, pa ryw hynod adduned, addewid, a phroffes a wnaeth efe drwoch chwi. Ac er mwyn gallu o honaw wybod hyn yn well, bod i chwi alw arno i wrando pregethau. Ac yn bendifadde bod i chwi weled dyscu o honaw ef y Gredd-ddeddf, Gweddi yr Arglwydd, a'r deng-air deddf yn yr iaith a ddeallo, a phob peth arall a ddylei Cristion ei wybod a'i gredu er iechyd iw enaid, a bod meithrin y plentyn hwn yn rhinweddol iw hyweddu mewn buchedd dduwiol a Christianogol, gan goffa yn wastad fod Bedydd yn arwyddocau i ni ein proffes, nid amgen, canlyn o honom esampl ein Iachawdur Crist, a'n gwneuthur yn gyffelyb iddo ef: Ac fel y bu efe farw, ac y cyfodes trachefn drosom, felly y dylêm ni y rhai a fedyddiwyd, farw oddiwrth bechod, a chyfodi i gyfiawnder, gan farwolaethu yn wastad ein holl ddrygioni, a'n gwynniau llygredic, a pheunydd myned rhagom ym-mhob rhinwedd dda a buchedd dduwiol. ☙

Ac felly rhag-llaw, fel yn y Bedydd public.

Eithr os y rhai a ddugant y plant i'r Eglwys a wnânt ateb anyspysol i ofynion yr Offeiriad, a dywedyd na wyddant beth oeddynt yn ei feddwl, yn ei wneuthur, neu yn ei ddywedyd yn y cyfryw fawr ofn a chythry-

fwl

fwl meddwl (megis y damwain yn fynych) yna bedyddied yr Offeiriad ef yn ol y ffurf scrifennedic vchod am y Bedydd Public, oddieithr wrth drochi y dyn-bach yn y ffons, efe a arfer y ffurf hon ar eiriau.

**Oni ddarfu dy fedyddio yn barod N. ydd wyfi yn dy fedyddio di, yn Enw'r Tad, a'r Mab, a'r Yspryd glan, Amen.**

## Conffirmasion, yn yr hwn y cynhwysir *Catechism*, *sef addysc i blant.*



ER mwyn bod ministrio Conffirmasion er mwy o adeilad i'r sawl a'i derbynio (yn ol athrawiaeth Sanct Paul, yr hwn sydd yn dyscu y dyleid gwneuthur pob peth yn yr Eglwys er adeilad iddi) fe a dybijr bod yn dda na bo conffirmio neb rhag-llaw, onid cyfryw a fedro dywedyd yn-nhafod-iaith eu mam, fannau yr ffydd, gweddi yr Arglwydd, a'r deng-air-Deddf, a medru hefyd ateb i gyfryw ymofynnion o'r Catechism byrr hwn, ag y byddo i'r Escob (neu i'r neb a osodo efe i hyn) yn ôl ei feddwl ei opposio hwynt ynddo. A'r drefn hon y sydd weddusaf ei chadw, er mwyn amrafaelion ystyriaethau.

Yn gyntaf, o herwydd pan ddêl plant mewn oedran synnwyr, a gwybod pa beth a addawodd eu tadau bedydd, a'u mammau-bedydd drostynt wrth eu bedyddio; yna y gallant eu hun â'u genau eu hunain, ac o'u cydsynniad eu hunain, ar osteg yng-wydd yr Eglwys gonffirmio, a chadarnhau yr vn rhyw addewid: a hefyd iddynt addo, drwy nerth rhâd Duw, ddarpar yn wastad gadw yn ffyddlawn y cyfryw bethau a'r a fu iddynt hwy â'u genau eu hunain, ac â'u cyffes gydsynniaw arno.

Ail

Ail yw, yn gymmaint a bod ministrio conffirmasion i'r rhai a fedyddiwyd pan yw trwy osod dwylo arnynt a gweddi, allu ohonynt dderbyn meddiant ac ymddeffyn yn erbyn pob profedigaeth i bechu, a rhuthrau yr byd, a'r cythrel; cymmesuraf yw ministrio conffirmasion pan ddel plant i'r cyfryw oedran, pan yw iddynt, peth o ran gwendid eu cnawd ei hun, peth o ran rhuthrau yr byd a'r cythrael, ddechreu bod mewn pericl i syrthio mewn amryw bechodau.

Trydydd, am fod hynny yn gysson â defod yr Eglwys yn yr amser gynt, lle darfu ordeinio ministrio conffirmasion i'r rhai a fyddēt o gyflawn oedran, fel y bydde iddynt hwy wedi eu haddyscu mewn Crefydd Cristionogawl allu yn gyhoeddoc broffessio eu ffydd eu hunain, ac addo bod yn vfydd i ewyllys Duw.

Ac na bo i neb dybied fod dim niwed yn dyfod i'r plant herwydd oedi ei conffirmasion, gwybydded yn ddiau, fod yn ddilys wrth air Duw am y plant a fedyddiwyd, ddarfod iddynt gael bob peth anghenrheidiol i iechyd eu henaid, a'u bod yn ddiammau yn gadwedic.

## Y Catechism, sef yw hynny, athrawiaeth iw dyscu gan bob plentyn cyn ei

*ddwyn iw gonffirmio gan yr Escob.*

Qwestion.



Eth yw dy enw di?

Ateb.

N. neu M. neu yr cyfryw.

Qwestion.

Pwy a roddes yr henw hwnw arnat?

Ateb.

Fy Nhadau-bedydd, a'm mammau-bedydd wrth fy medyddio, pan i'm gwnaethpwyd yn aelod Crist, yn blentyn Duw, ac yn etifedd teyrnas nef.

Qwestion.

Qwestion.

Pa beth a wnaeth dy Dadau-bedydd a'th Fammau-bedydd yr amser hwnnw trosot?

Ateb.

Hwy a addawsant, ac a addunasant dri pheth yn fy enw. Yn gyntaf ymwrthod o honof â diafol, ac â'i holl weithredoedd a'i rodres; gorwagedd y byd enwir, a phechadurus chwantau y cnawd. Yn ail, bod i mi gredu holl byngciau yr ffydd Grist. Ac yn drydydd, cadw o honof wynfydedic ewyllys Duw a'i orchymynnion, a rhodio ynddynt holl ddyddiau fy mywyd.

Qwestion.

Onid wyt ti yn tybied dy fod yn rhwymedic i gredu, ac i wneuthur megis ac yr addawsant trosot?

Ateb.

Ydd wyf yn wir: a thrwy nerth Duw felly y gwnaf. Ac ydd wyfi yn mawr ddiolch i'n Tad nefol am iddo fyngalw i gyfryw iechydwriaeth hyn, trwy Iesu Grist ein Iachawdur. Ac mi a atolygaf i Dduw roddi i mi ei râd modd y gallwyf aros ynddo holl ddyddiau fy einioes.

Qwestion.

Adrodd i mi fannau dy ffydd?

Ateb.

CRedaf yn Nuw Dâd holl-gyfoethog, Creawdr nef a daiar. Ac yn Iesu Grist ei vn Mâb ef ein Harglwydd ni. Yr hwn a gafwyd trwy yr Yspryd glân, ac a aned o Fair forwyn. A ddioddefodd tan Bontius Pilat, a groes-hoeliwyd, a fu farw, ac a gladdwyd. Descynnodd i vffern. Y trydydd dydd y cyfododd o feirw. Efe a escynnodd i'r nefoedd, ac eistedd y mae ar ddeheu-law Dduw Dâd Holl-alluog. Oddi yno y daw efe i farnu byw a meirw. Credaf yn yr Yspryd glân. Yr Eglwys lân Gatholic. Cymmun

y Sainct. Maddeuaint pechodeu. Cyfodiad y cnawd. A'r bywyd tragywyddol. Amen.

Qwestion.

Pa beth wyt ti yn ei ddyscu yn bennaf yn y pyngciau hyn o'th ffydd?

Atteb.

Yn gyntaf yddwyf yn dyscu credu yn Duw Dâd, yr hwn a'm gwnaeth fi, a'r holl fyd.

Yn ail yr ydwyf yn credu yn Duw Fâb, yr hwn a'm prynodd fi, a phob rhyw ddŷn.

Yn drydydd, yr wyf yn credu yn Duw Yspryd glân, yr hwn sydd i'm sancteiddio i, a'r holl etholedig bobl Dduw.

Qwestion.

Ti a ddywedaist ddarfod i'th Dadau-bedydd a'th fammau-bedydd addo trosot ar i ti gadw gorchymynion Duw. Dywet tithe i mi, pa nifer y sydd o honynt?

Atteb.

Dêc.

Question.

Pa rai ydynt?

Atteb.

Y Rhai hynny a lefarodd Duw yn yr bgeinfed bennod o Exodus, gan ddywedyd: my-fi yw'r Arglwydd dy Dduw, yr hwn a'th ddûg di ymmaith o dir yr Aipht, o dŷ y caethiwed.

1. Na fydded i ti dduwiau eraill onid myfi.

2. Na wnâ it dy hûn ddelw gerfiedic, na llun dim ar y sydd yn y nefoedd uchod, neu yn y ddaiar isod, nac yn y dwfr tan y ddaiar. Na ostwng iddynt, ac nac addola hwynt: oblegit myfi yr Arglwydd dy Dduw wyf Duw eiddigus, yn ymweled â phechodau'r tadau ar y plant, hyd y drydedd a'r bedwaredd genhedlaeth o'r rhai a'm casânt, ac yn gwneuthur

trugaredd i filoedd o'r rhai a'm carant, ac a gadwant fyng-orchymynion.

3 Na chymmer Enw yr Arglwydd dy Dduw yn ofer, canys nid gwirion gan yr Arglwydd yr hwn a gymmero ei Enw ef yn ofer.

4 Cofia gadw yn sanctaidd y dŷdd Sabbath. Chwe diwrnod y gweithi, ac y gwnei dy holl waith: eithr y saithfed dydd yw Sabbath yr Arglwydd dy Dduw: ar y dŷdd hwnnw na wnâ ddim gwaith, tydi, na'th fâb, na'th ferch, na'th wâs, na'th forwyn, na'th anifail, na'r dŷn dieithr a fyddo o fewn dy byrth. Canys mewn chwe diwrnod y gwnaeth yr Arglwydd nef a daiar, y môr, a'r hyn oll sydd ynddynt, ac a orphywysodd y saithfed dydd. O herwydd pa ham y bendithiodd yr Arglwydd y seithfed dydd, ac a'i sancteiddiodd ef.

5 Anrhydedda dy dâd a'th fam, fel yr estynner dy ddyddiau ar y ddaiar, yr hon a rydd yr Arglwydd dy Dduw i ti.

6 Na lâdd.

7 Na wna odineb.

8 Na ladratta.

9 Na ddwg gam destiolaeth yn erbyn dy gymmydog.

10 Na chwennych dŷ dy gymmydog, na chwennych wraig dy gymmydog; na'i wâs, na'i forwyn, na'i ŷch, na'i assyn, na dim a'r sydd eiddo.

Qwestion.

Beth wyt ti yn ei ddyscu yn bennaf wrth y gorchymynion hyn?

Atteb.

Yr ydwyf yn dyscu dau beth: fy-nylêd tu ag at Dduw, a'm dyled tu ag at fyng-hymmydog.

Qwestion.

Pa beth yw dy ddyled tu ag at Dduw?

Atteb.

Atteb.

Fy nyled tu ag at Dduw yw, Credu ynddo, ei ofni, a'i garu â'm holl galon, â'm holl enaid, ac â'm holl nerth. Ei addoli ef, Diolch iddo, rhoddi fy holl ymddyried ynddo: galw arno. Anrhydeddu ei sanctaidd Enw a'i air, a'i wasanaethu yn gywir holl ddyddiau fy mywyd.

Qwestion.

Pa beth yw dy ddyled tu ag at dy gymmydog?

Atteb.

Fy nyled tu ag at fyng-hymmydog yw, ei garu fel fy hunan, a gwneuthur i bob dyn, megys y chwennychwn iddo wneuthur i minneu. Caru o honof, anrhydeddu, a chymmorth fy-nhâd, a'm mam. Anrhydeddu, ac ufyddhau i'r Frehines a'i swyddogion, ymddarostwng i'm holl lywiawdwyr, dysciawd-wyr, Bugeilliaid ysprydol ac athrawon. Ymddwyn o honof yn ostyngedic, gan berchi pawb o'm gwell. Na wnelwyf niwed i neb ar air, na gweithred. Bod yn gywir ac yn uniion ym-mhob peth a wnelwyf. Na bo na châs na digasedd yn fyng-halon i neb. Cadw o honof fy nwylaw rhac chwilenna, a lledratta, a chadw fy nhafod rhag dywedyd celwydd, cabl-eiriau, na drwg-absen. Cadw fyng-horph mewn cymhedroldeb, sobrwydd, a diweirdeb. Na chybyddwyf, ac na ddeisyfwyf dda na golud neb arall. Eithr dyscu a llafurio yn gywir i geisio ennill fy mywyd, a gwneuthur a ddylwyf ym-mha ryw fuchedd bynnac y rhyngo bodd i Dduw fyng-alw.

Qwestion.

Fy annwyl blentyn, gwybydd hyn yma, nad wyd abl i allu gwneuthur y pethau hyn o honot dy hun, na rhodio yng-orchymynnion Duw, na'i wasanaethu ef, heb ei espesol rad ef; yr hwn sydd raid i ti ddyscu

 yn

yn wastad, ymoralw am dano trwy ddyfal weddi. Gan hynny gad ti i mi glywed a fedri ddywedyd gweddi yr Arglwydd?

Atteb.

EIn Tâd yr hwn wyt yn y nefoedd, sancteiddier dy Enw, Deued dy deyrnas. Bid dy ewyllys ar y ddaiar megis y mae yn y nefoedd. Dyro i ni heddyw ein bara beunyddiol; A maddeu i ni ein dyledion fel y maddeuwn ni i'n dyled-wyr. Ac na thywys ni i brofedigaeth. Eithr gwaret ni rhag drwg: Canys ti biau yr deyrnas, a'r nerth, a'r gogoniant yn oes oesoedd. Amen.

Qwestion.

Pa beth ydd wyt ti yn ei erchi ar Dduw yn y weddi hon?

Atteb.

Yr ydwyfi yn erchi ar fy Arglwydd Dduw ein Tâd nefol, yr hwn yw rhodd-wr pob daioni, ddanfon ei rad arnaf, ac ar yr holl bobl, fel y gallom ei anrhydeddu ef, a'i wasanaethu, ac ufyddhau iddo megis y dylem. Ac ydd wyf yn gweddio ar Dduw ddanfon i ni bob peth anghenrhaidiol, yn gystadl i'n heneidiau, ac i'n cyrph. A bod yn drugarog wrthym, a maddeu i ni ein pechodau: A rhyngu bodd iddo ein cadw a'n amddeffyn ym-mhob pericl ysprydol a chorphorol: a chadw o honaw nyni rhag pob pechod ac anwiredd, a rhag ein gelyn ysprydol, a rhag angeu tragywyddol. A hyn yr ydwyf yn ei obeithio y gwnâ efe o'i drugaredd a'i ddaioni, trwy ein Harglwydd Jesu Grist, A chan hynny ydd wyf yn dywedyd Amen. Poet gwîr.

Er cynted y medro y plant ddywedyd yn iaith eu mam, fannau yr ffydd, gweddi yr Arglwydd, y dêc Gorchymyn, a hefyd medru o honynt atteb i gyfryw ymofynnion

fynnion o'r Catechism byr hwn-yma, ag y bydd i'r Escob (neu i'r neb a osoto efe) yn ôl ei feddwl iw opposio hwynt: Yna y dugir hwy at yr Escob gan vn a fyddo yn dâd-bedydd, neu yn fam-fedydd iddo, fel y bo tyst i bob plentyn o'i gonffirmasion. A'r Escob a'u conffirmia hwynt fel hyn.

# Conffirmasion.



Jn porth ni y sydd yn Enw yr Arglwydd.

Atteb.

Yr hwn a wnaeth nef a daiar.

Gwenidog.

Bendigaid yw Enw yr Arglwydd.

Atteb.

O hyn hyd yn oes oesoedd.

Gwenidog.

Arglwydd gwrando ein gweddi.

Atteb.

A deued ein llef hyd attat.

Gweddiwn.

HOll-alluog a byth-fywiol Dduw, yr hwn fu wiw gennit adgenhedlu y rhai hyn dy weision trwy ddwfr, a'r Yspryd glân, ac a roddaist iddynt faddeuaint o'u holl bechodau: nertha hwy, ni a attolygwn i ti Arglwydd â'th Yspryd glân y Diddan-wr: A pheunydd ychwanega ynddynt dy aml ddoniau o râd, Yspryd doethineb a deall, Yspryd cyngor a nerth ysprydol; Yspryd gwybodaeth a gwîr dduwioldeb; A chyflawnhâ hwynt Arglwydd ag Yspryd dy sanctaidd ofn. Amen.

Yna y gesid yr Escob ei law ar bob plentyn wrtho ei hun gan ddywedyd.

AMddeffyn Arglwydd, y plentyn hwn â'th râd nefol, fel y byddo iddo ef barhau yn eiddo ti byth, a pheunydd gynnyddu yn dy Yspryd glân fwy-fwy, hyd oni ddel efe i'th deyrnas dragywyddol. Amen.

Yna y dywed yr Escob.

Gweddiwn.

HOll-alluog a Byth-fywiol Dduw yr hwn wyt yn peri i ni ewyllysio, a gwneuthur yr hyn a wnelom o ddaioni ag y sydd gymmeradwy gan dy fawredd: Yr ydym yn gwneuthur yn ostyngedic ein erfynion attat dros y plant hyn, y rhai (yn ôl esampl dy ddwywol Apostolion) y gosodasom ein dwylo arnynt, er eu siccrhâu hwy (trwy yr arwydd hwn) fod dy ymgeledd a'th radlawn ddaioni ar eu tuedd: Bydded dy Dadol law, ni a attolygwn i ti, byth arnynt: Bydded dy Yspryd glân byth gyd â hwy, ac felly tywys hwy yng-wybodaeth ac vfydd-dod dy air, modd y gallont yn y diwedd fwynhau bywyd tragywyddol, trwy ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn gyd â thi, a'r Yspryd glân sydd yn byw ac yn teyrnasu yn vn Duw, heb drangc na gorphen. Amen.

Yna y bendithia yr Escob y plant, gan ddywedyd yn y môdd hyn.

BEndith yr Holl-alluog Dduw, y Tâd, y Mâb, a'r Yspryd glân, a fyddo arnoch, ac a drigo gyd â chwi yn dragywydd. Amen.

Bid i Gurat pob plwyf, neu i ryw vn arall a'r a osoto efe, yn ddiesceulus ar y Suliau a'r gwyliau, hanner awr o flaen Gosper, ar osteg y plwyf yn yr Eglwys, ddyscu a holi cynnifer o blant ei blwyf ar a ddanfonwyd atto, ac

y gwaſanaetha yr amſer, a megis y tybio efe fod yn gymhesur, yn rhyw barth o'r Catechiſm hwn.

A bid i bob tâd a mam, a phob perchen tylwyth beri i'w plant, iw gwaſanaeth-ddynion, ac iw prentiſiaid (y rhai ni ddyſcaſont eu Catechiſm) ddyfod i'r Eglwys yr amſer goſodedic, ac yn vfyddawl gwrando, a bod wrth lywodraeth y Curat, hyd yr amſer y darfo iddynt ddyſcu pob peth y ſydd yma wedi ei oſod i'w ddyſcu. A pha bryd bynnac y rhydd yr Eſcob yſpyſrwydd i ddwyn y plant ger ei fron i vn lle cyfaddas iw conffyrmio: yna duged Curat pob plwyf, neu ddanfoned yn ſcrifennedic henwau yr holl blant o'i blwyf, y rhai a fedrant ddywedyd pyngciau y ffydd, Gweddi yr Arglwydd, ar dengair Deddf; a hefyd pa ſawl vn o honynt a fedr atteb ir Qweſtionau eraill a gynhwyſir yn y Catechiſm hwn.

Ac na dderbynier neb i'r Cymmun bendigedic, hyd pan fedro ddywedyd y Catechiſm, a bôd wedi ei gonffyrmio.

# Ffurf neu drefn Priodas.

YN gyntaf rhaid yw goſyn y goſtegion ar dri Sûl gwahanrhedol neu wyliau, pryd gwaſanaeth yng-wydd y plwyf, yn ôl yr arfer ddefodol.

Ac os y rhai a ſynnent eu priodi, ſyddant yn trigo mewn amrafael blwyfau, rhaid yw goſyn y goſtegion yn y ddau blwyf, ac na bo i'r Curat o'r naill blwyf eu priodi hwy nes cael hyſpyſrwydd ddarfod goſyn ei cerennydd dair-gwaith gan y Curat o'r plwyf arall.

Ar y dydd goſodedic i fod vrddas y Briodas, deued y rhai a brioder i gorph yr Eglwys, a'u ceraint, a'u cymmydogion: ac yno y dywed yr Offeiriad fel hyn.



Y Caredigion bobl, ydd ŷm wedi yr ymgynnull yma yng-olwg Duw, ac yn wyneb ei gynnulleidfa ef, i gyssylltu y ddeu-ddyn hyn yng-hyd mewn glân Briodas, yr hon y sydd stâd barchedic, wedi'r ordeinio gan Dduw ym-Mharadwys, yn amser diniweidrwydd dŷn, gan arwyddocâu i ny ni y dirgel vndeb y sydd rhwng Crist a'i Eglwys: yr hon wynfydedic stât a addurnodd, ac a brydferthodd Crist â'i gynnyrcholdeb ei hun â'r gwyrthiau cyntaf a wnaeth yn Cana Galilea. A phriodas hefyd a ddywed S. Paul ei bod yn anrhydeddus ym-mhlith holl ddynion: Ac am hynny ni ddylei neb ei chymmeryd arno mewn byrbwyll, o yscafnder meddwl, neu nwyfiant, er mwyn digoni deisyfiad a chwantau cnawdol, fel anifeiliaid yscryblaidd, y rhai ni roddwyd rheswm iddynt: Eithr yn barchedic, yn bwyllog, yn sobr, ac mewn ofn Duw, gan ddyledus synniaw er mwyn pa achosion yr ordeiniwyd priodas. Vn achos oedd, er ennill plant, iw meithrin yn ofn yr Arglwydd, a moliant Duw. Yn ail, hi a ordeiniwyd yn ymwared yn erbyn pechod, ac i ymoglyd rhag godineb, megis ac y byddo i'r cyfryw rai nad oes iddynt roddiad i ymgynnal, allu priodi, a'u cadw eu hunain yn ddihalogion aelodau corph Crist. Y trydydd, er cydgymdeithas â'i gilydd, cymmorth, a diddanwch a ddylei y naill gael gan y llall, yn gystal mewn hawdd-fyd ac adfyd. I'r hon stât y mae yr ddau-ddyn hyn wedi dyfod i ymgyssylltu. Herwydd pa ham, o gŵyr neb vn achos cyfion, fel na ellir yn gyfraithlon eu cyssylltu

hwy

hwy yng-hŷd, dyweded yr awr hon, neu na ddyweded byth rhac-llaw.

A chan grybwyll hefyd wrth y rhai a brioder, dyweded efe.

YDdwyfi yn erchi, ac yn gorchymyn i chwi (fel y bo i chwi atteb ddydd y farn pan gyhoedder dirgelion pob calon) od yw i'r vn o honoch wybod vn anach fel na ddylech yn gyfreithlawn fyned yng-hyd mewn priodas, gyffessu o honoch yn y man. Canys gwybyddwch yn dda, am y nifer a gyssylltir yn amgen nac y myn gair Duw, nis cyssylltir hwy gan Dduw, ac nid yw eu priodas yn gyfraithlawn.

Ac ar ddydd y Briodas, o bydd i neb ddywedyd, bod vn anach megis na ddylent gael eu cyssylltu mewn priodas, wrth gyfraith Dduw, a chyfraith y deyrnas hon, ac a ymrwyma a meichiau digonol gyd ag ef i'r partiau: ai ynte rhoddi gwarthol am gwbl a dâl cymmaint a cholled y rhai oeddynt i'w priodi, i brofi ei ddadl: yna y bydd rhaid oedi dydd y briodas hyd yr amser y treier y gwirionedd. Ac oni honnir vn anach yna y dywed y Curat wrth y gwr.

N. A fynni di y ferch hon yn wraig briod i ti, i fyw yng-hyd, yn ôl ordinhâd Duw, yng-lân radd priodas? A geri di y hi, ei diddanu, ei pherchi, a'i chadw yn glaf ac yn iach? A gwrthod pob vn arall, a'th gadw dy hun yn vnic iddi hi, tra fyddoch byw eich deuoedd?

Y Mab a atteb.

Gwnâf.

Yna y dywed yr Offeiriad wrth y Ferch.

N. A fynni di y mâb hwn yn wr priod i ti, i fyw yng-hyd yn ôl ordinhâd Duw, yng-lân stât priodas?

A vfyddhei di iddo, a'i wasanaethu, ei garu, ei berchi, a'i gadw yn glâf ac yn iach, a chan wrthod pawb eraill, dy gadw dy hun yn vnic iddo ef, cyhyd ag y byddoch byw eich deuoedd?

Y Ferch a atteb.

Gwnâf.

Yna y dywed y Gwenidog.

Pwy sydd yn rhoddi y ferch hon iw phriodi i'r mâb hwn?

A'r Gwenidog gan dderbyn y ferch o law ei thad neu ei chereint, a bair i'r Mab gymmeryd y Ferch erbyn ei llaw ddehau; ac felly bod i bob vn ymgredu â'i gilydd: a bod i'r Mab ddywedyd yn gyntaf.

YR ydwyfi, N. i'th gymmeryd ti N. yn wraig briod i mi, i gadw a chynnal o'r dŷdd hwn allan, er gwell, er gwaeth, er cyfoethogach, er tlodach, yn glâf ac yn iâch, i'th garu, ac i'th fawr-hau, hyd pan i'n gwahâno angeu, yn ôl glân ordinhâd Duw; ac ar hynny yr ydwyf yn rhoddi i ti fyng-hrêd.

Yna y datodant eu dwylaw, a'r ferch a gymmer trachefn y Mab erbyn ei law ddehau, gan ddywedyd.

YDdwyfi N. yn dy gymmeryd ti N. yn ŵr priawd i mi, i gadw a chynnal, o'r dŷdd heddyw allan, er gwell, er gwaeth, er cyfoethogach, er tlodach, yn glâf ac yn iâch, i'th garu, i'th fawrhâu, ac i vfyddhau i ti, hyd pan i'n gwahâno angau, yn ôl glân ordinhâd Duw, ac ar hynny y rhoddaf i ti fyng-hrêd.

Yna trachefn y gollyngant eu dwy-law yn rhyddion, ac y dyry y Mab fodrwy i'r ferch, gan ei dodi ar y llyfr, ynghyd â'r ddylêd ddefodol i'r Offeiriad a'r yscolhaig. A'r Offeiriad a gymmer y Fodrwy, ac a'i dyry i'r Mab, iw gosod ar y pedwerydd bys i law asswy y Ferch. A'r Mab wrth addysc yr Offeiriad, a ddywed.

A'r

A'r Fodrwy hon i'th briodaf, â'm corph i'th anrhydeddaf, ac â'm golud bydol i'th gynhyscaeddaf. Yn Enw'r Tâd, a'r Mâb, a'r Yspryd glân. Amen.

Yna y gâd y Mab y fodrwy ar y pedwerydd bys o'r llaw asswy i'r Ferch, ac y dywed y Gwenidog.

Gweddiwn.

O Dragywyddol Dduw, Creawdr a cheidwad pob rhyw ddyn, rhoddiawdur pob rhâd ysprydol, awdur y bywyd a beru byth: Anfon dy fendith ar dy wasanaeth ddynion hyn, y mab hwn, a'r ferch hon, y rhai ydd ym ni yn eu bendithio yn dy Enw di, fel ac y bu i Isaac, a Rebecca fyw yn ffyddlawn yng-hyd, felly gallu o'r dynion hyn gyflawni a chadw yr addunedd a'r ammod a wnaed rhyngddynt; am yr hyn y mae rhoddiad, a derbyniad y Fodrwy hon yn arwydd ac yn wystl, a gallu byth o honynt aros yng-hyd mewn perffaith gariad a thangneddyf, a byw yn ôl dy ddeddfau, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

Yna y cyssyllta yr Offeiriad eu dwy-law ddeheu yng-hyd, ac y dywed.

Y rhai a gyssylltodd Duw yng-hŷd, na wahaned dyn.

Yna y dywed y Gwenidog wrth y bobl.

YN gymmaint a darfod i N. ac N. gydsyniaw mewn glân Briodas, a thystiolaethu hynny gar bron Duw a'r gynnulleidfa hon, ac ar hynny ddarfod iddynt ymgredu, ac ymwystlo bob vn i'w gilydd, a declario hynny gan roddi, a derbyn Modrwy, a chyssylltu dwy-law: ydd wyf yn hyspyssu eu bod hwy yn wr ac yn wraig yng-hyd: yn Enw y Tad, a'r Mâb, a'r Yspryd glân. Amen.

A'r Gwenidog a'u bendithia â'r sendith hon yn anghwanec.

Duw Tâd, Duw Mâb, Duw Yspryd glân a'ch bendithio, a'ch cadwo, ac a'ch cymhortho. Edryched yr Arglwydd yn drugarog ac yn ymgeleddus arnoch, a chyflawned chwi â phob ysprydol fendith a rhad, modd y galloch fyw yng-hyd yn y fuchedd hon, hyd pan fo i chwi yn y byd a ddaw allu meddiannu bywyd tragywyddawl. Amen.

Yna y Gwenidogion, neu yr Yscolheigion gan fyned i fwrdd yr Arglwydd, a ddywedant, ne a ganant y psalm hon y sydd yn canlyn.

Beati omnes. Psal. 128.



Gwyn ei fyd pob vn y sydd yn ofni yr Arglwydd: sef yr hwn sydd y rhodio yn ei ffyrdd ef.

Canys mwynhei lafur dy ddwylo: gwyn dy fyd a da yw iti.

Dy wraig sydd fel gwin-wydden ffrwythlawn ar hyd ystlysau dy dŷ: a'th blant fel planhigion oliwydd o amgylch dy ford.

Wele, fel hyn yn ddiau y bendithir y gŵr a ofno yr Arglwydd.

Yr Arglwydd a'th fendithia o Sion, fel y gwelech Jerusalem mewn llwyddiant holl ddyddiau dy einioes.

Ac y gwelech blant dy blant, a thangneddyf ar Israel.

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, &c.

Megis ydd oedd yn y dechreu, &c.

Neu ynte y psalm yma.

Deus misereatur. Psal. 67.



Duw a drugarhao wrthym, ac a'n bendithio, a thywynned ei wyneb arnom a thrugarhaed wrthym. Selah.

Fel

Fel yr adwaener dy ffordd ar y ddaiar, a'th iechydwriaeth ym-mhlith yr holl genhedloedd.

Molianned y bobl di ô Dduw: molianned yr holl bobl dy di.

Llawenhaed y cenhedloedd a byddant hyfryd, canys ti a ferni y bobl yn uniawn, ac a lywodraethi y cenhedloedd ar y ddaiar. Selah.

Molianned y bobl di ô Dduw: molianned yr holl bobl dy-di.

Yna yr ddaiar a rydd ei ffrwyth: a Duw sef ein Duw ni, a'n bendithia.

Duw a'n bendithia, a holl derfynau yr ddaiar a'i hofnant ef.

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, &c.

Megis ydd oedd yn y dechreu, &c.

Wedi gorphen y Psalm, a'r Mâb a'r Ferch yn gostwng ger bron bwrdd yr Arglwydd, a'r Offeiriad yn sefyll wrth y bwrdd, a chan ymchwelyd ei wyneb attynt hwy, y dywed.

Arglwydd trugarhâ wrthym.

Atteb.

Crist trugarhâ wrthym.

Gwenidog.

Arglwydd trugarhâ wrthym.

EIn Tâd yr hwn wyt yn y nefoedd, &c.

Ac na thywys ni i brofedigaeth:

Atteb.

Eithr gwaret ni rhag drwg. Amen.

Gwenidog.

Arglwydd cadw dy wasanaeth-wr, a'th wasanaethwraig.

Atteb.

Y rhai y sy yn ymddyried ynot.

Gwenidog.

Arglwydd danfon iddynt gymmorth o'th gyssegr-fa.

Atteb.

Ac amddeffyn hwy yn dragywydd.

Gwenidog.

Bydd di iddynt yn dŵr cadernid.

Atteb.

Oddi wrth wyneb eu gelynion.

Gwenidog.

Arglwydd gwrando ein gweddi.

Atteb.

A deued ein llef hyd attat.

Gwenidog.

DUw Abraham, Duw Isaac, Duw Jacof, bendithia dy wasanaeth-ddynion hyn, a haua hâd buchedd dragywyddol yn eu meddyliau, megis pa beth bynnac yn dy air cyssegredic yn fuddiol a ddyscant, iddynt allu cyflawni hynny yng-weithred. Edrych arnynt Arglwydd, yn drugarog o'r nefoedd, a bendithia hwynt. Ac fel yr anfonaist dy fendith ar Abraham a Sara iw mawr ddiddanwch hwy, felly bid gwiw genit anfon dy fendith ar dy wasanaeth-ddynion hyn, modd y bo iddynt (yn ufyddion i'th ewyllys, ac yn bod bob amser dan dy nawdd) allu aros yn dy serch hyd ddiwedd eu bywyd, trwy Jesu Grist ein Harglwydd. Amen.

Y weddi hon a faddeuir pan fyddo yr ferch dros oedran planta.

O Drugarog Arglwydd a nefol Dâd, trwy radlawn ddawn yr hwn yr amlhâ hiliogaeth dŷn: Attolygwn i ti gymmorth â'th fendith y ddau ddyn hyn;

hyn; fel y gallont fod yn ffrwythlon i hilio plant, a hefyd cydfod a byw mewn cariad Duwiol a syberwyd, yni welant blant eu plant, hyd y drydedd ar bedwaredd genhedlaeth i'th foliant a'th anrhydedd di, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

DUw, yr hwn drwy alluog nerth a wnaethost bob peth o ddiddim ddefnydd, yr hwn hefyd wedi gosod pethau eraill mewn trefn a ordeiniaist allan o ddyn (yr hwn a greawyd ar dy lun, a'th ddelw dy hun) gaffael o wraig ei dechreuad, a chan eu cyssylltu hwy yng-hyd yr arwyddoceaist na bydde byth gyfraithlon wahânu y rhai trwy briodas a wnelyt ti yn un. O Dduw, yr hwn a gyssegraist ystad priodas i gyfryw ragorawl ddirgeledigaeth, megis ac yr arwyddoceir, ac y cossetir ynddi y Briodas ysprydol, a'r undeb rhwng Crist a'i Eglwys. Edrych yn drugarog ar y rhai hyn dy wasanaeth-ddynion, fel y gallo y gŵr hwn garu ei wraig, yn ol dy air (megis y Carodd Crist ei Briawd yr Eglwys, yr hwn a'i rhoes ei hunan drosti, gan ei charu, a'i mawrhau fel ei gnawd ei hunan) a hefyd bod y wraig hon yn gareuaidd, ac yn serchog i'w gŵr megis Rachel, yn ddisemyl megis Rebecca, yn ffyddlawn ac yn ufydd megis Sara, ac ym-hob heddwch sobrwydd a thangneddyf, ei bod yn canlyn cyfryw sanctaidd a duwiol fodrabedd. Arglwydd bendithia hwy ill dau a chaniatâ iddynt etifeddu dy deyrnas dragywyddol, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

Yna y dywed yr offeiriad.

HOll gyfoethog Dduw, yr hwn yn y dechreuad a greawdd ein rhieni Adda ac Efa, ac a'u cyssegrodd ac a'u cyssylltodd ynghyd ym-mhriodas: a dywallto

wallto arnoch olud ei râd ef, a'ch ſanctaiddio, ac a'ch bendithio, modd y galloch ei foddhau ef yng-horph ac enaid, a byw yng-hyd mewn duwiol ſerch, hyd ddi-wedd eich oes. Amen.

*Yna y dechreuir y Cymmun, ac wedi yr Efangel y dywedir pregaeth, yn yr hon yn ordenniol (pob gwaith ag y bo priodas) y datcenir ſwydd gwr a gwraig yn ôl yr ſcruthyr lân. Neu oni bydd Pregaeth darllened y Gwenidog y traethawd hwn iſod.*



hwy-chwi oll y rhai a briodeđ, neu y ſy yn darpar cymeryd glân yſtâd priodas arnoch, gwrandewch pa beth a ddywed yr Scrythur lân, o blegit dyled gwŷr iw gwragedd, a gwragedd i'w gwŷr.

Sanct Paul yn ei Epiſtol at yr Epheſiaid, yn y bummed bennod ſydd yn rhoddi y gorchymyn hwn i bob rhyw wr priod, ſef yn y geiriau hyn.

Chwy-chwi wŷr cerwch eich gwragedd, megis y carodd Criſt ei Eglwys, ac y rhoddes ei hun drosti, er ei chyſſegru, gan ei glanhau yn y ffynnon ddwfr trwy y gair, fel y galle ei gwneuthud iddo ei hun yn gynnulleidfa ogoneddus heb arni na magl, na chrychni, neu ddim cyfryw: eithr ei bod yn lân ac yn ddiargyoedd. Ac y mae yr gwŷr yn rhwymedic i garu eu gwragedd fel ei cyrph eu hunain. Pwy bynnac a garo ei wraig, a'i câr ei hun: can na chaſhâodd neb erioed ei gnawd ei hun, eithr ei fagu, a'i faethu megis y gwna yr Arglwydd am y gynnulleidfa: canys ae-lodau ei gorph ef ydym, a'i gnawd a'i eſcyrn. Oherwydd pa achos y gâd dyn dâd a mam, ac y cyſſylltir a'i wraig, ac hwy ill dau fyddant vn cnawd. Y dirgel-wch hyn ſydd fawr: eithr am Griſt ac am ei gynnulleidfa ydd wyf i yn crybwyll. Oherwydd pa ham, cared pawb o honoch ei wraig megis ei hunan.

Yr vn ffynyd, yr vn rhyw S. Paul (yn scrifennu at Coloss.4.
y Colossiaid) a ddywed fel hyn wrth bob gŵr gwrei-
gioc. Y gwŷr cerwch eich gwragedd, ac na fyddwch
chwerwon wrthynt.

Gwrandewch hefyd pa beth a ddywaid Petr Apo- 1.Pet.3.
stol Crist (yr hwn hefyd oedd ei hun yn wr gwreigi-
og) wrth y gwŷr gwreigiog. Y gwŷr trigwch gyd
â'ch gwragedd yn ôl gwybodaeth, gan berchi y wraig
megis llestr gwannach, a megis cyd-etifeddion o râd
y bywyd, fel na rwystrer eich gweddiau.

Hyd yn hyn y clywsoch am ddyled gŵr tu ag at ei
wraig. Yr awr hon yr vn ffunyd y gwragedd
gwrandewch eich dylêd chwithau i'ch gwŷr, fel y
mae yn eglur wedi ei ddatcan yn yr Scrythur
lân.

Sanct Paul (yn yr vn rhyw Epistol at yr Ephesi- Ephes.5.
aid) a'ch dŷsc fel hyn; Y gwragedd byddwch dda-
rostyngedic i'ch gwŷr priod fel i'r Arglwydd: canys
y gŵr sydd ben ar y wraig, megis y mae Crist yn
ben ar yr Eglwys: ac efe yw Iachawdur yr holl
gorph.

Eithr megis y mae yr Eglwys, neu yr gynnull-
aidfa yn ddarostyngedic i Grist; felly yr vn modd,
ymddarostynged y gwragedd i'w gwŷr ym-mhob
peth. A thrachefn y dywaid efe, Parched y wraig ei
gŵr. Ac (yn ei Epistol at y Colossiaid) y mae Sanct Coloss.3.
Paul yn rhoddi i'wch y wers ferr hon; Y gwragedd
ymostyngwch i'ch gwŷr priod megis y mae yn we-
ddus yn yr Arglwydd.

Sanct Petr y sydd hefyd i'ch discu yn wîr dduwi- 1.Pet.3.1.
ol, gan ddywedyd fel hyn, Ymostynged y gwragedd
i'w gwŷr priod, fel os bydd neb heb vfyddhau i'r gair
y galler ei enill heb y gair, drwy ymwreddiad y
gwragedd, wrth iddynt weled eich diwair ymddy-
giad yn gyssylltiedic ag ofn. Ac na fid eich trwsiad

oddi allan, megis o blethiadau gwallt, ac amgylch-oſodiad aur, neu wiſcad dillad gwychion. Eithr bydded dirgel ddyn y galon mewn anllygredigaeth yſpryd addfwyn, a llonydd, yr hwn ſydd ger bron Duw yn werth-fawr. Canys felly gynt yr ymdrwſſie yr gwragedd ſanctaidd, y rhai oeddynt yn gobeithio ar Dduw, yn ddaroſtyngedic iw gwŷr priod. Megis yr vfyddhaodd Sara i Abraham gan ei alw ef yn arglwydd: merched yr hon ſyddwch chwi, o wneuthur yn dda, heb arnoch ofn dim dychryn.

Rhaid i'r dynion newydd briodi (y dydd y prioder) gymmeryd y Cymmun.

# Y drefn am ymweliad *y Clâf.*

Yr Offeiriad yn myned i mewn i dy y Clâf a ddywed.

¶ Tangneddyf ſyddo yn y tŷ hwn, ac i bawb y ſydd yn trigo ynddo.

Pan ddêl efe yng-wydd y clâf, y dywaid gan oſtwng i lawr ar ei liniau.

NA chofia Arglwydd ein enwiredd, nac enwiredd ein rhiêni, arbet nyni Arglwydd daionus, arbet dy bobl a brynaiſt â'th werth-fawr waed, ac na ſidia wrthym yn dragywydd.

Arglwydd trugarhâ wrthym.

Criſt trugarhâ wrthym.

Arglwydd trugarhâ wrthym.

¶ Ein Tâd yr hwn wyt yn y nefoedd, &c.

Ac na thywys ni i brofedigaeth.

Atteb.

Eithr gwaret ni rhag drwg. Amen.

Gwenidog.

Gwenidog.

Arglwydd iachâ dy wâs.

Atteb.

Yr hwn sydd yn ymddyried ynot.

Gwenidog.

Anfon iddo borth o'th sancteiddfa.

Atteb.

Ac bŷth yn nerthol amddeffyn ef.

Gwenidog.

Na âd i'r gelyn gael y llaw uchaf arno.

Atteb.

Nac i'r enwir nessàu i'w ddrygu.

Gwenidog.

Bydd iddo Arglwydd yn dŵr cadarn.

Atteb.

Rhag wyneb ei elyn.

Gwenidog.

Arglwydd gwrando ein gweddiau.

Atteb.

A dêl ein llef hyd atati

ARglwydd edrych i lawr o'r nefoedd, golyga, ymwel, ac esmwytha ar dy wâs hwn. Edrych arno â golwg dy drugaredd, dyro iddo gwnffordd a diogel ymddyried ynot, amddeffyn ef rhag perigl y gelyn, a chadw ef mewn tangneddyf dragywyddol a diogelrwydd, trwy Jesu Grist ein Harglwydd. Amen.

ERglyw ni holl-gyfoethog a thrugaroccaf Dduw, ac Jachawdur, estyn dy arferedic ddaioni i hwn dy wasanaeth-wr y sydd ofidus gan ddolur, ymwel ag ef Arglwydd, megis yr ymwelaist â mam gwraig Petr, ac â gwâs y captaen: felly ymwel a dyro i'r clâf hwn ei gynefin iechyd, (od yw dy ewy-

llys) neu ddyro iddo râd i gymmeryd felly dy ymweliad, hyd yni fo iddo yn ol diweddu y fuchedd boenedic hon, allu o honaw drigo gyd â thi yn y fuchedd dragywyddol. Amen.

Yna cynghored y Gwenidog y Claf o'r ffurf hyn, neu yr cyfryw.

YR annwyl garedic, gwybydd hyn, mai yr Holl-alluog Dduw y sydd Arglwydd ar fywyd ac angeu, ac a'r bob peth a berthyn iddynt, megis ieuenctid, nerth, iechyd, oedran, gwendid a haint. Am hynny pa beth bynnac yw dy glefyd, gwybydd yn ddiammau mai ymweliad Duw ydyw. Ac am ba ryw achos bynnac ydd anfonwyd y clefyd hwn arnat, ai er prawf ar dy ddioddef er esampl i eraill, ac er caffael dy ffydd di yn nŷdd yr Arglwydd yn ganmoledig, yn barchedic, ac yn anrhydeddus er ychwaneg o ogoniant a didrangc ddedwyddwch, neu ddanfon y clefyd hwn i gospi ynot beth bynnac y sydd yn anfoddhau golwg ein Tâd nefol: Gwybydd yn ddiammeu, os tydi a fyddi wir edifeiriol am dy bechodau, a chymmeryd dy glefyd yn oddefgar, gan ymddyried yn-nhrugaredd Dduw, er mwyn ei annwyl Fab Iesu Grist, a rhoddi iddo ostyngedic ddiolch am ei dadol ymweliad, gan i ti ymddarostwng yn hollawl i'w ewyllys ef, yr ymchwel i'th fûdd, ac i'th gymmorth rhagot i'r uniawn ffordd, yr hon a dywys i fuchedd dragywyddol.

Os y dyn ymweledic a fydd yn drym-glaf, yna y dichon y Curad orphen y Cyngor yn y fan hon.

Hebr.12. AM hynny cymmer yn groesawus gospedigaeth yr Arglwydd, Canys y neb a garo yr Arglwydd a gospa:

gospa: (Ac fel y dywed Sanct Paul) efe a fflangella bob mab a'r a dderbynio. Ac os goddefwch gospedigaeth, y mae Duw yn ymgynnig i chwi megis i feibion, canys pa fab fydd na's cospo ei dâd ef? Eithr os heb gospedigaeth yr ydych, o'r hon y mae pawb yn gyfrannog, yna bastardiaid ydych, ac nid meibion o briod. Heb law hynny, cawsom dadau ein cyrph yn gosp-wyr, ac ni a'u parchasom; ond mwy o lawer y mae i ni ymostwng i Dâd yr yspryddau, a chael byw? Canys hwynt-hwy yn wîr tros ychydic ddyddiau a'n cospent ni, fel y bydde yn dda ganddynt; eithr hwn a'n cospa er llesâd i ni, fel y byddem gyfrannogion o'i sancteiddrwydd ef. Y geiriau hyn, (garedic frawd) yw geiriau Duw, ac yn scrifennedic yn y Scrythur lân er cysur, ac addysc i ni, fel y gallom yn oddefgar, ac yn ddiolchgar, ddwyn cospedigaeth ein Tâd o'r Nêf, pa bryd bynnac drwy fodd yn y byd ar wrthwyneb yr ewyllysia ei rad-lawn ddaioni ef ymweled â ni. Ac ni ddyle bod cysur mwy gan Gristionogion nâ chael eu gwneuthud yn gyffelyb i Grist, gan ddioddef yn ufyddgar wrthwyneb, trallod a chlefydau. Canys nid aeth efe ei hun i'r llawenydd, nes yn gyntaf iddo ddioddef poen, nid aeth efe i mewn i'w ogoniant nes dioddef angeu ar bren crog. felly yn wîr, yr unfon ffordd i ni i'r gorfoledd tragywyddol, ydyw cyd-ddioddef yma â Christ; A'n drws i fyned i mewn i fywyd tragywyddol, ydyw marw yn llawen gyd â Christ, fel y gallom gyfodi trachefn o angau, a thrigo gyd â g ef ym-mywyd tragywyddol. Yn awr gan hynny, os cymmeri dy glefyd (ac yntef yn gystal â hyn ar dy lês) yn oddefgar, yr ydwyfi yn eiriol arnat yn Enw Duw, gofftâu y broffes a wnaethost i Dduw yn dy fedydd. Ac o herwydd yn ôl y fuchedd hon bod yn ddîr gwneuthur cyfrif i'r barn-wr cyfiawn, gan ba un y bernir pob dyn,

 heb

**heb bleidio; Yddwyf yn erchi i ti ymchwilio dy hun, âth gyflwr tu agat Dduw a dyn; hyd pan fo i ti drwy dy gyhuddo a'th farnu dy hunan am dy feiau, allu cael trugaredd ar law ein Tâd o'r nef er mwyn Crist, ac nid bod yn gyhuddedic, ac yn farnedic yn amser y ddigllawn farn ofnedic. Ac am hynny yr adroddaf ar fyr eiriau fannau ein ffydd, modd y gellych wybod a wyt yn credu fel y dylu Cristion, ai nad wyt.**

Yna yr adrodd y Gwenidog fanneu yr ffydd, gan ddywedyd fel hyn.

**A wyt ti yn credu yn Nuw Dad holl-gyfoethog? &c.** Ac felly rhag-llaw fel yn y Bedydd.

Yna yr ymofyn yr Offeiriad neu'r Curad agef, beth ydyw efe ai bod mewn cariad perffaith â'r holl fyd a'i peidio? gan eiriol arno faddeu o eigion ei galō i bob dyn a wnaeth yn ei erbyn: ac os efe a wnaeth yn erbyn eraill, gofyn o honaw faddeuaint iddynt. A lle y gwnaeth efe gam neu drawster â neb, gwneuthur o honaw iawn yn orau dim ag a allo. Ac oddi eithr iddaw ym-mlaen-llaw wneuthur ei lywodraeth am ei dda, gwnaed yna ei ewyllys. Ac y mae yn anghenrhaidiol rhybuddio dynion yn fynych am wneuthur trefn ar eu da byd a'u tiroedd tra fyddont mewn iechyd. A hefyd dangos o honaw am ei ddyled pa faint sydd arno, a pha faint sydd o ddylèd iddo, er mwyn rhyddhâu ei gydwybod, a heddwch iw esecutorion.

Y geiriau hyn y rhai a ddywetpwyd vchod, ellir eu cymmwyll cyn dechreu o'r Gwenidog ei weddi, megis ag y gwêl efe achos.

Nac anghofied y Gwenidog, ac na faddeued eiriol ar y claf, (a hynny yn gwbl ddifrifol) ar iddo ddangos haelioni i'r tlodion.

Yma hefyd y gwnaiff y dyn clwyfus gyffes espesawl, os efe a glyw ei gydwybod mewn cythryfwl gan ddefnydd

o bwys. Yn ôl y gyffes honno, y gollwng yr Offeiriad ef yn y wêdd hon.

EIn Harglwydd Jesu Grist, yr hwn a adawodd feddiant iw Eglwys i ollwng pob pechadur, a fyddo gwîr edifeiriol, ac yn credu ynddo ef, o'i fawr drugaredd a faddeuo dy gamweddau: a thrwy ei awdurdod ef a ganiadhauwyd i mi, i'th ollyngaf o'th holl bechodau, yn Enw y Tad, a'r Mâb, a'r Yspryd glân. Amen.

Ac yna y dywed yr Offeiriad y Colect yma isod.

¶ Gweddiwn.

O Drugaroccaf Dduw, yr hwn yn ôl lliosawgrwydd dy drugaredd, wyt felly yn deleu pechodau y rhai ydynt wîr edifeiriol, fel nad ydwyt iw cofio mwy: agor lygad dy drugaredd ar dy wasanaethwr yma, yr hwn o wir ddifrif y sydd yn dymuno gollyngdod a maddeuaint. Adnewydda ynddo garedicaf Dâd, beth bynnac a lescâwyd trwy ddichell a malis y cythrael, neu drwy ei gnawdol ewyllys ei hun, a'i wendid: cadw di a chynnal yr aelod clwyfus hwn ofewn undeb dy Eglwys, ystyria wrth ei wîr edifeirwch, derbyn ei ddeigrau, yscafnhâ ei ddolur, modd y gwelech di fod yn orau ar ei lês. Ac yn gymmaint a'i fod efe yn rhoddi cwbl o'i ymddyried yn unic yn dy drugaredd, na liwia iddo ei bechodau o'r blaen, eithr cymmer ef i'th nodded, trwy ryglyddon dy garedigaf Fab Jesu Grist. Amen.

Yna y dywed y Gwenidog y Psalm hon.

YNot o Arglwydd y gobeithiais: na'm cywilyddier byth. In te Domine speravi. Psal. 71.

Achub fi a gwaret fi yn dy gyfiawnder: gostwng dy glûst attaf a chadw fi.

Bydd i mi yn graig gadarn, i ddyfod iddi bob amser: addewaist fy achub, canys ti yw fyng-rhaig a'm hamddeffynfa.

Gwaret fi ô Dduw o law yr annuwiol, o law yr trofaus a'r traws.

Canys ti yw fyng-obaith ô Arglwydd Dduw: sef fyng-obaith o'm ieuengctid.

Wrthit ti i'm cynhaliwyd o'r bru, ti a'm tynnaist o grôth fy mam: fy mawl fydd yn wastad am danat ti.

Oeddwn i lawer megis anghenfil: eithr tydi wyt fyng-hadarn obaith.

Llanwer fyng-enau â'th foliant: dy ogoniant a ddadcanaf beunydd, a'th anrhydedd.

Na fwrw fi ymmaith yn amser henaint: na wrthod fi pan ddarfyddo fy nerth.

Canys fyng-elynnion ydynt yn chwedleua i'm herbyn, a'r rhai a ddisgwiliasant am fy enaid, a gydymgynghorasant,

Gan ddywedyd, Duw a'i gwrthododd ef, erlidiwch a deliwch ef, canys nid oes gwaredudd.

O Dduw na fydd bell oddi wrthif: fy Duw brysia i'm cymmorth.

Cywilyddier, a difether y rhai a wrthwynebant fy enaid, â gwarth ac â gwradwydd y gorchguddier y rhai a geisiant ddrwg i mi.

Minne a obeithiaf yn wastad, ac a'th foliannaf di fwy-fwy.

Fyng-enau a fynega dy gyfiawnder a'th iechydwriaeth beunydd: canys ni wn rifedi arnynt.

Yng-hadernid yr Arglwydd Dduw y cerddaf: dy gyfiawnder di yn unic a gofia fi.

O'm hieuengctid i'm dyscaist ô Dduw, am hynny y mynegaf dy ryfeddodau hyd yn hyn.

Na wrthot fi ychwaith ô Dduw mewn henaint a phen-llwydni, hyd yni fynegwyf dy nerth i'r genhedlaeth

laeth hon, a'th gadernid i bob un a ddelo.

Dy gyfiawnder o Dduw a aeth yn uchel, yr hwn a wnaethost bethau mawrion: pwy ô Dduw sydd fel tydi?

Yr hwn a wnaethost i mi weled aml a drygionus gystudd, etto dychwelaist a bywhêaist fi: dychwelaist a chyfodaist fi o orddyfnder y ddaiar.

Amlhei fy mawredd, troi hefyd a chysuri fi.

Minne a'th foliannaf ô Dduw ar offeryn Nabl am dy wirionedd: canaf it ar Delyn ô Sanct Israel.

Fyng-wefusau a fyddant hyfryd pan ganwyf i ti, a'm henaid yr hwn a waredaist.

Fy nhâfod hefyd a draetha dy gyfiawnder beunydd, o herwydd cywilyddio, ac am wradwyddo y rhai a geisient niwed i mi.

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Yspryd glân.
Megis ydd oedd yn y dechreu, y mae yr awr hon, ac y bydd yn dragywydd. Amen.

Gan ddywedyd hyn yn ychwaneg.

IAchawdur y byd, iachâ ni, yr hwn drwy dy grog a'th werth-fawr waed a'n prynaist, cymmorth ni, nyni a attolygwn i ti ô Dduw trugarog.

Yna y dywed y Gwenidog.

YR holl-alluog Arglwydd, yr hwn yw y twr cadarnaf i bawb a roddant eu hymddyried ynddo, i ba un y mae pob peth yn y nef, ar y ddaiar, a than y ddaiar yn gostwng ac yn ufyddhau, a fyddo yr awr hon, a phob amser dy amddeffyn, ac a wnêl i ti wybod a deall nad oes un Enw dan y nef wedi ei roddi i ddynion, ym-mha un a thrwy ba un y mae i ti dderbyn iechyd, onid yn unic Enw ein Harglwydd Iesu Grist. Amen.

# Cymmun y claf.



N gymmaint a bod pob rhyw ddyn yn ddaroſtyngedic i lawer o beryglon dyſyſyd, haintiau, a chlefydau, a byth yn anhyſpys pa bryd yr ymadawant o'r fuchedd hon: herwydd pa ham, er mwyn gallu o honynt fod bob amſer mewn parodrwydd i farw, pa bryd bynnac y rhyngo bodd i'r Holl-alluog Dduw alw am danynt: Bid i'r Curadiaid yn ddyfal, o amſer i amſer, ac yn enwedic yn amſer plâ, gynghori ei blwyfolion gymmeryd yn fynych yn yr Eglwys fendigedic Cymmun corph a gwaed ein Iachawdur Criſt. Yr hyn (os hwyntwy a'i gwnânt) ni bydd achos iddynt yn eu hymweliad dyſymwth, i fod yn anheddychol eu meddwl o ddeffyg hynny. Ond os y claf ni bydd abl i ddyfod i'r Eglwys, ac etto yn dymuno cymmeryd y Cymmun yn ei dy, yna y bydd rhaid iddo fynegu dros nos, ai ynteu y boreu ddydd dranoeth i'r Curat, gan arwyddocau hefyd pa ſawl vn y ſydd yn darparu cyd-gymmuno ag ef. Ac o bydd lle cyfaddas yn-nhy y clâf, fel y gallo y Curad yn barchedic finiſtrio, a nifer da i gymmeryd y Cymmun gyd â'r clâf, a phob peth anghenrhaidiol i hynny, miniſtred efe yno y Cymmun bendigedic.

## Y Colect.

HOll-gyfoethog a byth-fywiol Dduw, gwneuthur-wr dynawl ryw, yr hwn wyt yn coſpi y rhai a gerych, ac yn ceryddu pawb ar a dderbynech: Nyni a attolygwn i ti drugarhau wrth dy wâs hwn yma ymweledic gan dy law, ac i ti ganiatàu gymmeryd o honaw ei gleſyd yn ddioddeſus, a chaffael ei iechyd tracheſn (os dy radlawn ewyllys di yw hynny) a pha bryd bynnac yr ymadawo ei enaid â'i gorph, bod o honaw yn ddiſagl wrth ei breſentio i ti, trwy Ieſu Griſt ein Harglwydd. Amen.

Yr

Yr Epiſtol.

FY mâb na thremyga goſpedigaeth yr Arglwydd, ac na ddigalonna pan i'th geryddet ganddo, canys y neb y mae yr Arglwydd yn ei garu, hwnnw a goſpa, ac efe a ffonnodia bob mab a dderbynio. Heb.12.

Yr Efangel.

YN wir yn wir meddaf i chwi, y neb sydd yn gwrando fyng-air, ac yn credu i'r hwn a'm honfonodd i, a gaiff fywyd tragywyddol, ac ni ddaw i farn, eithr efe a aiff trwodd o farwolaeth i fywyd. Io.5.24.

Pan gyfranner y Sacrament bendigedic, cymmered yr Offeiriad yntef y Cymmun yn gyntaf, ac yn ôl hynny, miniſtried i'r rhai a ddarparwyd Cymmuno gyd â'r claf.

Eithr o bydd neb o ddirdra dolur, neu o herwydd eiſieu rhybydd mewn amſer dyladwy i'r Curad, neu o eiſieu ſwrn i gymmeryd gyd ag ef, neu oblegit rhyw rwyſtr cyfiawn arall, heb gymmeryd Sacrament corph a gwaed Criſt: yna dangoſed y Curad iddo, os efe ſydd wîr edifeiriol am ei bechodau, a chredu yn ddiyſcoc ddarfod i Ieſu Griſt ddioddef angeu yr y groes droſto, a cholli ei waed dros ei brynedigaeth ef, gan goffa yn ddifrif y mawr ddaioni y ſydd iddo o hynny, a chan ddiolch iddo o'i galon am danaw, y mae efe yn bwyta ac yn yfed corph a gwaed ein Iachawdur Criſt yn fuddiol i iechyd ei enaid, er nad yw efe yn derbyn y Sacrament â'i enau.

Pan ymweler â'r clâf, ac ynteu yn cymmeryd y Cymmun bendigedic yr vn amſer: bid yna i'r Offeiriad er mwyn pryſuro yn gynt, dorri ymmaith ffurf yr ymweliad lle mae yr Pſalm, Ynot Arglwydd y gobeithiais, &c. ac aed yn vnion i'r Cymmun.

Yn amſer plâ, clefyd y chwys, neu ar gyfryw amſerau heintiau neu-gleſydau llyn, pryd na aller cael yr vn o'r plwyf neu yr cymmydogion i gymmuno gyd a'r cleifion yn eu tai, rhag ofn cael yr haint: ar eſpeſol ddeiſyfiad y clâf, fe all y Gwenidog yn vnic gymmuno gyd ag ef.

# Y drefn am gladdedigaeth y marw.

Yr Offeiriad yn dyfod yn erbyn y corph wrth borth y fonwent, a ddywed: neu yr Offeiriad a'r yscolheigion a ganant, ac felly myned i'r Eglwys, neu tu a'r bedd.

Io.11.25. Myfi yw yr cyfodiad a'r bywyd (medd yr Arglwydd) y neb a gredo ynof fi er iddo farw fydd byw. A phwy-bynnac a fywocâ, ac a gredo ynof ni bydd marw yn dragywydd.

Iob 19.25. Myfi a wn mai byw fy-mhryn-wr, ac y cyfodaf o'r ddaiar y dydd diwethaf, ac y'm gwiscir drachefn â'm croen, ac y caf weled Duw yn fyngnhawd. Yr hwn a gafi fy hun ei weled: a'm llygaid a'i gwelant ef, ac nid neb arall trosof.

1.Timo.6.7. NJ ddugasom ni ddim i'r byd hwn, ac ni allwn chwaith ddwyn dim ymmaith o honaw. Yr Arglwydd sy'n rhoddi, a'r Arglwydd sydd yn dwyn ymaith: (megis y byddo da gan yr Arglwydd felly y derfydd i bob peth.) Bendigedic fo enw yr Arglwydd.

Pan ddelont at y bedd, tra fyddo yr corph yn ei baratoi iw ddodi yn y ddaiar, y dywed yr Offeiriad, neu yr Offeiriad a'r yscolheigion a ganant.

Iob 14 1. DYn a aned o wraig sydd a byr amser iddo i fyw, ac y sydd yn llawn trueni. Y mae ef yn blaguro fel llysieuyn, ac a dorrir i lawr, ac a ddiflanna fel cyscod, ac ni saif. Ynghanol ein bywyd yr ydym mewn angeu, gan bwy y mae i ni geisio ymwared onid gennit ti Arglwydd yr hwn am ein pechodau wyt yn gyfiawn yn ddigllawn? Er hynny Arglwydd Duw sancteiddiaf, Arglwydd galluocaf, ô sanctaidd a thrugarog Jachawdur, na ollwng ni i ddygyn chwerwaf boenau angau tragywyddol. Ti Arglwydd a adwaenost ddirgelion ein calonnau, nac ymchwel dy olwg trugarog oddiwrth ein

ein gweddiau, either arbet ny-ni ô Arglwydd sancteiddiaf, ô Dduw galluocaf, ô sanctaidd a thrugarog Jachawdur, Tydi deilyngaf farn-wr tragywyddol, na âd ni yn yr awr ddiwethaf er neb rhyw boenau angeu, i syrthio oddi-wrthit.

Yna tra fydder yn bwrw pridd ar y corph gan y sawl a fo yn sefyll yno, yr Offeiriad a ddywed.

YN gymmaint a rhyngu bodd i'r Goruchaf Dduw o'i fawr drugaredd gymmeryd atto ei hun enaid ein hannwyl frawd yma a ymadawodd o'r byd, gan hynny ydd ŷm ni yn rhoddi ei gorph ef i'r ddaiar, sef daiar i'r ddaiar, lludw i'r lludw, pridd i'r pridd, mewn gwîr ddiogel obaith o gyfodiad i fuchedd dragywyddol, trwy ein Harglwydd Jesu Grist, yr hwn a newidia ein corph gwael, fel y byddo yn gyffelyb i'w gorph gogoneddus ef, o herwydd y galluog weithrediad, trwy yr hwn y dichon efe ddarostwng pob dim iddo ei hun. Phil. 3.

Yna y dywedir, neu y cenir.

MI a glywais lais o'r nef yn dywedyd wrthif, scrifenna, o hyn allan gwynfydedig yw y meirw, y rhai sy yn marw yn yr Arglwydd, felly y dywed yr Yspryd, canys y maent yn gorphywyso oddi wrth eu poen gynt. Gwel. 14. 13.

Yn ôl hynny y canlyn y llith hon, wedi ei chymmeryd allan o'r pymthecfed bennod o'r Epistol cyntaf at y Corinthiaid.

CRist a gyfodwyd oddiwrth y meirw, ac a wnaed yn flaen-ffrwyth y rhai a hunnasant. O herwydd gan fod marwolaeth trwy ddŷn, trwy ddŷn hefyd y mae adgyfodiad y meirw. Oblegit, megis yn Adda y mae pawb yn meirw, felly yng-Hrist y bywheuir pawb, eithr pob un yn ei drefn ei hunan: y blaen-ffrwyth yw Crist, wedi hynny y rhai ydynt 1. Cor. 15. 20.

eiddo Crist yn ei ddyfodiad ef. Yna y bydd y diwedd, wedi y rhoddo efe y deyrnas i Dduw a'r Tâd, wedi iddo ddeleu pob pendefigaeth, a phob awdurdod, a nerth. Canys rhaid yw iddo deyrnasu, oni ostyngo ei elynion oll tann ei draed. Y gelyn diweddaf a ddinistrir fydd angeu. Canys efe a ddarostyngodd bob dim tan ei draed ef, eithr pan yw yn dywedyd ddarfod gostwng pob beth iddo ef, mae yn amlwg, ei fod efe wedi ei ddieithro yr hwn a ddarostyngodd bob peth tano. Ac wedi darostwng pob dim iddo, yna y Mab ei hun hefyd a ddarostyngir i'r hwn a ddarostyngodd bob dim tano ef, fel y byddo Duw Oll yn Oll. Os amgen, beth a wna y rhai a fedyddir tros y meirw, os y meirw ni chyfodir? a pha ham y bedyddir hwy tros y meirw, a pha ham i'n peryglir bob awr? Yr wyfi yn marw beunydd, gan eich gorfoledd yr hon sydd gennif yng-Hrist Iesu ein Harglwydd. Os yn ol dull dŷn yr ymleddais ag anifeiliaid yn Ephesus, pa leshâd sydd i mi oni chyfodir y meirw? bwytawn ac yfwn, canys yforu ni a fyddwn feirw: Na thwyller chwi, ymadroddion drwg a lygrant foesau da. Deffroiwch yn gyfiawn, ac na phechwch, canys y mae rhai ni adwaenant Dduw: er cywilydd iwch y dywedaf hyn. Eithr rhyw un a ddywed, pa fodd y cyfodir y meirw? â pha ryw gorph y deuant? O ynfyd y peth yr wyt ti yn ei hau, ni fywheuir oni bydd efe marw. A'r peth yr wyt ti yn ei hau, nid wyt ti yn hau y corph a fydd, eithr gronyn noeth, fel y digwyddo, o wenith, neu o ryw rawn eraill. Eithr Duw a ryddiddo gorph, fel y bu dda ganddo ef, ac i bob hedyn ei gorph ei hun. Nid yw pob cnawd un rhyw gnawd, eithr un cnawd sydd i ddynion, a chnawd arall i anifeiliaid, ac arall i byscod, ac arall i adar. Y mae hefyd gyrph nefol, a chyrph daiarol, ond arall yw gogoniant y rhai nefol, ac arall y rhai daiarol. Arall yw gogoniant yr haul, ac arall yw gogoniant

y lloer, ac arall yw gogoniant y sêr, canys y mae rhagor rhwng seren a seren mewn gogoniant. Felly hefyd y mae adgyfodiad y meirw: Y corph a hauir mewn llwgredigaeth, ac a gyfodir mewn anllwgregaeth. Efe a hauir mewn ammarch, ac a gyfodir mewn gogoniant: efe a hauir mewn gwendid ac a gyfodir mewn nerth: efe a hauir yn gorph anianol, ac a gyfodir yn gorph ysprydol. Y mae corph anianol, ac y mae corph ysprydol. Felly hefyd mae yn scrifennedic, y dyn cyntaf Adda a wnaed yn enaid byw, a'r Adda diwethaf yn yspryd yn bywhau. Er hynny, nid yr ysprydol sydd yn gyntaf, eithr yr anianol, ac wedi hynny yr ysprydol. Y dŷn cyntaf o'r ddaiar yn ddaiarol, yr ail dŷn yr Arglwydd o'r nef. Fel y mae y daiarol, felly y mae y rhai daiarol, ac fel y mae y nefol, felly y mae y rhai nefol hefyd. A megis y dugasom ddelw y daiarol, felly y dygwn ddelw y nefol. Eithr hyn meddaf (ô frodyr) na ddichon cig a gwaed etifeddu teyrnas Dduw, na llwgredigaeth etifeddu anllwgredigaeth. Wele yr wyfi yn dangos i chwi ddirgelwch, ni hûnwn ni oll, eithr mewn moment y newidir ni oll ar darawiad llygad, wrth yr vdcorn diwethaf. Canys yr vdcorn a gân, a'r meirw a gyfodir yn anllwgredic, a ninnau a newidir. o herwydd rhaid i'r llygrâdwy hwn wisco anllwgredigaeth, a'r marwol hwn wisco anfarwolaeth. Ac wedi i'r llwgradwy hwn wisco anllygredigaeth, a'r marwol hwn wisco anfarwolaeth, yna y bydd yr ymadrodd yr hwn a scrifennwyd, Angeu a lyngcwyd mewn buddugoliaeth. ô angeu, pale y mae dy golyn? ô vffern pale y mae dy fuddygoliaeth? Colyn angeu yw pechod, a grym pechod yw yr gyfraith. Ond i Dduw y byddo yr diolch, yr hwn sydd yn rhoddi i ni fuddygoliaeth trwy ein Harglwydd Iesu Grist. Am hynny fy annwyl frodyr byddwch sicer, ddisigl, ac helaethion yn oestadol yng-waith yr Arglwydd, gan wybod nad yw ofer eich llafur yn yr Arglwydd.

Wedi darfod y llith y dywed yr Offeiriad.

**Arglwydd trugarhâ wrthym.**

Crist trugarhâ wrthym.

**Arglwydd trugarhâ wrthym.**

**Ein Tâd yr hwn wyt yn y nefoedd, &c.**

**Ac na thywys ni ym-mhrofedigaeth.**

Atteb.

**Eithr gwaret ni rhag drwg. Amen.**

Yr Offeiriad.

**HOll-gyfoethog Dduw, gyd â'r hwn y mae yn byw yspryddoedd y rhai a ymadawsant oddi yma yn yr Arglwydd, ac yn yr hwn y mae eneidiau y rhai detholedic wedi darfod eu rhyddhau oddiwrth faich y cnawd, mewn llawenydd a dedwyddyd: yr ydym yn mawr ddiolch i ti, fod yn wiw gennit waredu hwn N. ein brawd allan o drueni y byd pechadurus hwn, gan attolygu i ti ryngu bodd it o'th radlawn ddaioni, gyflawni ar fyrder nifer dy etholedigion, a phryssuro dy deyrnas, modd y gallom ni gyd â'n brawd hwn, ac eraill a ymadawsant â'r byd mewn gwir ffydd dy Enw bendigedic, gaffael i ni ddiwedd perffaith a gwynfyd, yng-horph ac enaid yn dy ogoniant tragywyddol. Amen.**

Y Colect.

**O Drugarog Dduw, Tâd ein Harglwydd Jesu Grist, yr hwn yw y cyfodiad a'r bywyd, ym-mha un pwy bynnac a greto, a fydd byw er iddo farw. A phwy bynnac a fo byw ac a greto ynddo ef, ni bydd marw byth, yr hwn hefyd a'n dyscodd (trwy ei Apostol S. Paul) na thristaem fel rhai heb obaith, dros y rhai a hunant ynddo ef: Nyni yn ostyngedic a attolygwn i ti orucheaf Dâd ein cyfodi o angeu pechod i fuchedd cyfiawnder, hyd pan fo i ni wrth ymado â'r fuchedd hon, allu gorphywys ynddo, megis y mae ein gobaith fod ein brawd hwn:**

Ac ar y cyfodiad cyffredin y dydd diwethaf, allu ein caffael yn gymmeradwy yn dy olwg, a derbyn y fendith yr hon a ddatcan dy garedic Fâb yr amser hynny i bawb a'r a'th ofnant, ac a'th garant gan ddywedyd: Deuwch chwi fendigedig blant fy-Nhâd, meddiannwch y deyrnas a baratoiwyd i chwi er pan seiliwyd y byd. Caniadhâ hyn ni a attolygwn i ti drugarocaf Dâd trwy Iesu Grist ein Cyfryngwr a'n Prynia wdur. Amen.

# Diolwch gwragedd yn ol

## *escor plant, yr hwn a elwir yn gyffredin Rhyddhâu, neu Eglwysa.*

Y wraig a ddaw i'r Eglwys, ac yno y gostwng ar ei gliniau yn rhyw le cyfaddas, yn gyfagos i'r lle y byddo yr bwrdd yn sefyll: a'r Offeiriad yn ei sefyll yn ei hymyl a ddywed y geiriau hyn, neu yr cyfryw, fel y bo y defnydd yn erchi.

Yn gymmaint a rhyngu bodd i'r goruchaf Dduw o'i ddaioni roddi i ti ryddhâd ymwaredol, a'th gadw yn y mawr berigl wrth escor: ti a ddiolchi yn ewyllyscar i Dduw ac a weddii.

Yna y dywed yr Offeiriad y psalm hon.

Dyrchafaf fy llygaid i'r mynyddoedd, o'r lle y daw fyng-hymmorth i. Psal. 121.

Fyng-hymmorth a ddaw oddiwrth yr Arglwydd, yr hwn a wnaeth nefoedd a daiar.

Ni âd efe i'th droed lithro, ac ni huna dy geidwad.

Wele ni hûna ac ni chŵſc Ceidwad Jſrael.

Yr Arglwydd yw dy geidwad, yr Arglwydd yw dy gyſcod ar dy ddeheu-law.

Ni'th dery yr haul y dydd, n'ar lleuad y nos.

Yr Arglwydd a'th geidw rhag pob drwg, efe a geidw dy enaid.

Yr Arglwydd a geidw dy fynediad, a'th ddyfodiad o'r pryd hyn, hyd yn dragywydd.

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Yſpryd glân.

Megis ydd oedd yn y dechreu &c.

Arglwydd trugarhâ wrthym.

Crist trugarhâ wrthym.

Arglwydd trugarhâ wrthym.

¶ Ein Tâd yr hwn wyt yn nefoedd &c.

Ac na thywys ni i brofedigaeth.

Atteb.

Eithr gwaret ni rhag drwg.

Offeiriad.

Arglwydd cadw dy waſanaeth-wraig hon.

Atteb.

Yr hon y ſydd yn ymddyried ynot.

Offeiriad.

Bydd iddi yn dŵr cadarn.

Atteb.

Rhag wyneb ei gelyn.

Offeiriad.

Arglwydd, erglyw ein gweddiau.

Atteb.

A deued ein llef hyd attat.

Offeiriad.

¶ Gweddiwn.

HOll-alluog Dduw, yr hwn a waredaist dy waſanaeth-wraig hon oddi wrth y mawr boen a'r perigl ar anedigaeth dŷn bach: Caniadhâ attolwg i ti drugarocaf Dâd allu o honi drwy dy ganhorthwy

thwy di, fyw a rhodio yn ffyddlawn yn ei galwedigaeth yn ôl dy ewyllys yn y fuchedd bresennol hon: A hefyd bod yn gyfrannog o'r gogoniant tragywyddol y fuchedd a ddaw, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

Rhaid i'r wraig a ddêl i dalu diolch, offrymmu offrymmau defodawl: ac o bydd Cymmun, iawn yw iddi gymmeryd y Cymmun bendigedic.

# Comminasion neu fygwth

## *yn erbyn pechaduriaid: a rhyw weddiau i'w harfer ar amrafael amserau yn y flwyddyn.*

Yn ôl y foreuol weddi y bobl wedi eu galw yng-hyd, trwy ganiad clôch, ac wedi eu hymgynnull i'r Eglwys, y dywedir y Letani Camber-aeg yn ôl y môdd arferedig: gwedi darfod hynny âed yr offeiriad i'r Pulpyt, a dyweded fel hyn.

Y Brodyr yn y brif Eglwys gynt, yr oedd discyblaeth Dduwiol, Nid amgen yn nechreu yr Grawys, rhoi cyfryw ddynion oeddent bechaduriaid cyhoedd i benyd cyhoedd, a'u poeni yn y byd yma, modd y bydde eu heneidiau gadwedic yn nydd yr Arglwydd: a megis y galle eraill, wedi eu rhybyddio drwy eu esampl hwy, fod yn ofnusach i wneuthur ar gam. Yn lle yr hyn, hyd pan adnewydder y ddywededic ddiscyblaeth (yr hyn a ddylid ei ddymuno yn fawr) fe dybiwyd fod yn dda yr amser hyn, yn eich gwydd chwi, ddarllen y sentensiau cyffredin o felldithion Duw yn erbyn pechaduriaid anedifeiriol, y rhai a gasclwyd allan o'r seithfed bennod ar hugain o Deuteronomium, a lleoedd eraill o'r

 Scryp-

Scrythur lân: A bod i chwi atteb i bob sentens, Amen. Er mwyn, gwedi darfod felly eich rhybuddio am fawr ddigllonder Duw yn erbyn pechaduriaid, gallu eich gwahodd yn gynt i ddifrif, a gwîr edifeirwch, a bod i chwi rodio yn ddiysceulusach y dyddiau enbydus hyn, gan gilio oddi-wrth gyfryw feiau, am y rhai yr ydych chwi yn sicrhau â'ch geneuau eich hunain bod melldith Dduw yn ddyledus.

Melldigedic yw yr neb a wnêl ddelw gerfiedic, neu doddedic, yn ffieidd-beth i'r Arglwydd, gwaith dwylaw y crefft-wr, ac a'i gosodo mewn lle dirgel i'w haddoli.

A'r holl bobl a attebant, ac a ddywedant.

Amen.

Gwenidog.

Melldigedig yw yr hwn a felldithio ei dâd neu ei fam.

Atteb.

Amen.

Gwenidog.

Melldigedic yw yr hwn a symmudo derfyn tir ei gymmydog.

Ateb.

Amen.

Gwenidog.

Melldigedic yw yr hwn a ddycco y dall allã o'i ffordd.

Ateb.

Amen.

Gwenidog.

Melldigedic yw yr hwn a ŵyro farn y dieithr, yr ymddifad, a'r weddw.

Atteb.

Amen.

Gwenidog.

Melldigedic yw yr neb a darawo ei gymmydog yn ddirgel.

Atteb.

Atteb.

Amen.

Gwenidog.

Melldigedic yw yr hwn a orweddo gyd â gwraig ei gymmydog.

Atteb.

Amen.

Gwenidog.

Melldigedic yw yr hwn a gymmero wobr er dieneidio perchen gwaed gwirion.

Ateb.

Amen.

Gwenidog.

Melldigedic yw yr hwn a roddo ei ymddyried mewn dŷn, ac a gymmero ddyn yn ei amddeffyn, ac yn ei galon yn cilio oddi wrth yr Arglwydd.

Ateb.

Amen.

Gwenidog.

Melldigedic yw yr anhrugarog, y godinebus, a'r rhai a dorrant briodas, a'r cybyddion, addol-wŷr delwau, enllib-wŷr, meddwon, a'r bribwyr.

Atteb.

Amen.

Gwenidog.

YN-awr, yn gymmaint a'u bod hwy oll yn escymmun (fel y tystia Dafydd Brophwyd) y rhai y sy yn cyfeiliorni, ac yn myned ar ddidro oddiwrth orchymmynion Duw: moeswch (Gan feddylio am y farn ofnadwy y sydd gorûwch ein pennau, ac fyth ger ein llaw) i ni ymchwelyd at ein Harglwydd Dduw â chwbl gystudd, a gostyngeiddrwydd calon, gan ddwyn galar a thrymder dros ein buchedd bechadurus, gan gydnabod a chyffessu ein camweddau, a cheisio dwyn ffrwythau teilwng i edifei-

rwch. Canys yn awr y gosodwyd y fwyall ar wreiddyn y pren, fel y cymmynir i lawr ac y bwrir i'r tân bob pren ni ddycco ffrwyth da. Peth ofnus yw syrthio yn nwy-law Duw byw. Efe a dywallt law ar y pechaduriaid, maglau, tân, a brwmstan, storm a themestl, hyn fydd eu rhan hwy iw yfed. Canys wele yr Arglwydd wedi dyfod allan o'i le, i ymweled ag anwiredd y rhai sy yn trigo ar y ddaiar. Eithr pwy a ddichon aros dydd ei ddyfodiad ef? pwy a ddichon barhau pan ymddangoso efe? Ei wyntill y sydd yn ei law, ac efe a gartha ei lawr, ac a gascla ei wenith iw yscubor, ond efe a lysc yr ûs â thân anniffoddedic. Dydd yr Arglwydd a ddaw fel lleidr o hyd nôs, a phan ddywedant, Tangneddyf, ac y mae pob peth yn ddiogel, yna y daw destruw dysyfyd arnynt, fel y daw gofid gwraig feichiog wrth escor, ac ni ddiangant. Yna yr ymddengys cynddaredd Duw yn y dydd dial, yr hwn a ddarfu i'r pechaduriaid anhydyn ei bentyrru ar eu gwarthaf trwy gyndynrwydd eu calonnau, y rhai a ddirmygent ddaioni, ammynedd, a hir ymaros Duw, pan ydoedd efe yn eu galw hwy yn wastad i edifeirwch. Yna y galwant arnaf, medd yr Arglwydd, ac ni wrandawaf, hwy a'm ceisiant yn foreu, ac ni'm caffant, a hynny o herwydd iddynt gashâu gwybodaeth, ac na dderbynient ofn yr Arglwydd, onid cashâu fynghyngor, a diystyru fyng-hospedigaeth.

Yno y bydd rhy-hwyr curo, wedi cau y drws, a rhy-hwyr galw am drugaredd, pan yw amser cyfiawnder. Och mor aruthrol llef y farn gyfiawnaf, yr hon a gymhwyllir arnynt hwy pan ddywedir wrthynt: Ewch y rhai melldigedic i'r tân tragywyddol yr hwn a ddarparwyd i ddiafol a'i angelion.

Am hynny frodyr, ymochelwn yn amser, tra parhao dydd yr iechyd, Canys y mae yr nôs yn

dyfod,

dyfod, pryd na allo neb weithio: felly tra fyddo i ni oleuni credwn yn y goleuni, a rhodiwn fel plant y goleuni, rhag ein bwrw i'r tywyllwg eithaf, lle y mae wylofain ac yscyrnygu dannedd. Mat.25.
Na ddrwg-arferwn ddaioni Duw, yr hwn sydd yn ein galw yn drugarog i emendio, ac o'i ddidrangc dosturi, yn addo i ni faddeuaint am a aeth heibio, os nyni (â chwbl feddwl, ac â chalon gywir) a ddychwelwn atto ef. Canys er bod ein pechodau cyn goched â'r yscarlat, hwy fyddant mor gannaid â'r eira: a chyd byddant fel y prophor, etto hwy fyddant cyn wynned â'r gwlân. Esa.1.

Ymchwelwch yn lân medd yr Arglwydd oddi wrth eich holl anwiredd, ac ni bydd eich pechodau yn ddestruw i chwi.

Bwriwch ymmaith oddi-wrthych eich holl annuwioldeb a wnaethoch, gwnewch i chwi galonnau newyddion, ac yspryd newydd. Pa ham y byddwch feirw, Chwy-chwi tŷ yr Israel? can na'm boddheuir ym-morwolaeth yr un a fo marw, medd yr Arglwydd Dduw? Ymchwelwch chwithau a byw fyddwch.

Er darfod i ni bechu, y mae i ni ddadleuwr gyd â'r Tâd, Jesu Grist y Cyfion, ac efe a haeddodd i ni drugaredd dros ein pechodau.

Canys efe a archollwyd dros ein camweddau, ac a darawyd am ein hanwiredd. Ymchwelwn am hynny atto ef, yr hwn yw yr trugarog dderbyniwr holl wir edifeiriol bechaduriaid, gan gwbl gredu ei fod efe yn barod i'n derbyn, ac yn orau ei ewyllys i faddeu i ni, od awn atto mewn ffyddlawn edifeirwch, os nyni a ymostyngwn iddo, ac o hyn allan rhodio yn ei ffyrdd ef: os nyni a dderbyniwn ei iau esmwyth ef, a'i faich yscafn arnom, i'w ganlyn ef mewn gostyngeiddrwydd,

dioddefaint, a pherffaith gariad, a bod o honom yn ddrefnedig wrth lywodraeth ei Yspryd glân ef, gan geisio yn wastad ei ogoniant, a'i wasanaethu yn ddyladwy yn ein galwedigaeth gan ddiolch iddo. Os hyn a wnawn, Crist a'n gwareda oddi-wrth felldith y gyfraith, ac oddi-wrth y felldith eithaf a ddescyn ar y sawl a fyddant ar y llaw asswy, ac efe a'n gesid ni ar ei ddeheu-law, ac a ddyru i ni wynfydedig fendith ei Dâd, gan orchymyn i ni gymmeryd meddiant yn ei ogoneddus deyrnas, i'r hon poed teilwng fo ganddo ein dwyn ni eu gyd oll, er ei anfeidrol drugaredd. Amen.

Yna y gostyngant bawb ar eu gliniau, a'r Offeiriaid a'r yscolheigion ar eu gliniau (yn y fan lle maent arferedic o ddywedyd y Letani) a ddywedant y Psalm hon.

Psal. 51. Miserere mei Deus.

Trugarhâ wrthif ô Dduw yn ôl dy drugarogrwydd: yn ôl lliaws dy dosturiaethau delêa fy anwireddau.

Golch fi yn llwyr-ddwys oddi wrth fy anwiredd: a glanhâ fi oddi-wrth fy mhechod.

Canys adwen fyng-hamweddau, a'm pechod sydd yn wastad ger fy mron.

Yn dy erbyn di dy hunan y pechais, ac y gwneuthum yr hyn oedd ddrwg yn dy olwg di: fel i'th gyfiawnhaer pan leferech, ac y byddit bur pan farnech.

Wele mewn anwiredd i'm lluniwyd, ac mewn pechod y beichiogodd fy mam arnaf.

Wele ceraist wirionedd oddi mewn, a pheri i mi wybod doethineb yn ddirgel.

Glanhâ fi ag Yssop, a mi a lanheuir: golch fi, a byddaf wynnach na'r eira.

Par di i mi glywed gorfoledd a llawenydd, fel y llawenycho yr escyrn a ddrylliaist ti.

Cuddia

Cuddia dy wyneb oddi wrth fy mhechodau: a de-
lea fy holl anwireddau.

Crea galon lân ynof ô Dduw: ac adnewydda
Yspryd iniawn o'm mewn.

Na fwrw fi ymmaith oddi ger dy fron: ac na
chymmer dy Yspryd sanctaidd oddi-wrthif.

Dwg trachefn i mi orfoledd dy iechydwriaeth:
ac â'th hael Yspryd cynnal fi.

Dyscaf dy ffyrdd i rai anwir: a phechaduriaid a
droant attat.

Gwaret fi oddi-wrth waed ô Dduw, sef Duw fy
iechydwriaeth: a'm tafod a gân o'th gyfiawnder.

Arglwydd agor fyng-wefusau, a'm genau a fyne-
ga dy foliant.

Canys ni chwennychi aberth, pe amgen mi a'i
rhoddwn: a phoeth offrwm ni fynni.

Aberthau Duw ydynt yspryd drylliedic: calon
ddrylliog gystuddiedic, ô Dduw ni ddirmygi.

Bydd dda wrth Sion o herwydd dy ewyllysga-
rwch: adailada furau Jerusalem.

Yna y byddi fodlon i ebyrth cyfiawnder, sef poeth
offrwm, ac aberth llôsc: yna yr offrymmant fustych
ar dy allor.

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Yspryd glân.

Megis ydd oedd yn y dechreu &c.

Arglwydd trugarhâ wrthym.

Crist trugarhâ wrthym.

Arglwydd trugarhâ wrthym.

Ein Tâd yr hwn wyt yn y nefoedd &c.

Ac na thywys ni ym-mhrofedigaeth.

Atteb.

Eithr gwaret ni rhag drwg.

Gwenidog.

Arglwydd cadw dy wasanaeth-ddynion.

Atteb.

Atteb.

Y rhai a ymddyrchedant ynot.

Gwenidog.

Anfon iddynt borth oddi-vchod.

Atteb.

A bydd amddeffyn hwy yn gadarn.

Gwenidog.

Cymmorth nyni Dduw ein Iachawdur.

Atteb.

Ac er mwyn gogoniant dy Enw gwaret ni: Bydd drugarog wrthym bechaduriaid er mwyn dy Enw.

Gwenidog.

Arglwydd, gwrando ein gweddiau.

Atteb.

A deued ein llef hyd attat.

Gweddiwn.

ARglwydd ni a attolygwn i ti yn drugarog, gwrando ein gweddiau, ac arbet bawb a gyffessant eu pechodau wrthit, hyd pan fo i'r rhai a gyhuddir eu cydwybodau gan bechod, trwy dy drugarog faddeuaint fod yn ollyngedic, trwy Grist ein Harglwydd. Amen.

OAlluocaf Dduw, a thrugarocaf Dâd, yr hwn wyt yn tosturio wrth bob dŷn, ac nid wyt yn casâu dim a wnaethost, yr hwn nid ewyllysi farwolaeth pechadur, onid byw o honaw ac ymchwelyd oddi-wrth bechod, a bod yn gadwedic: yn drugarog maddeu ein camweddau, derbyn a chonfforddia ni, y rhai ydym yn flin, ac yn orthrwm gennym faich ein pechodau. Ti biau o briodolder drugarhau, i ti yn vnic y perthyn faddeu pechodau: Arbet nyni am hynny Arglwydd daionus, Arbet dy bobl y rhai a brynaist. Na ddwg dy weision i'r farn, y rhai ŷnt bridd gwael, a phechaduriaid truein: Eithr ymchwel felly dy lid oddiwrthym, y rhai ŷm yn ostyngedic

dic yn cydnabod ein gwaeledd, ac yn wir edifeiriol gennym ein beiau: felly brysia i'n cynhorthwyo yn y byd hwn, hyd pan allom byth fyw gyd â thi yn y byd a ddaw, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

Yna y dywed y bobl hyn yma y sydd yn canlyn, ar ôl y Gwenidog.

YMchwel di ni Arglwydd daionus, ac yna ydd ymchwelir ni, ystyria Arglwydd, ystyria wrth dy bobl, y rhai ydynt yn ymchwelyd attat trwy wylofain, ymprydio, a gweddio, canys Duw trugarog ydwyt, yn llawn tosturi, yn dda dy amynedd, ac yn fawr dy warder, yr wyt yn arbed pan ŷm yn haeddu poenau, ac yn dy lid ydd wyt yn meddwl am drugaredd. Arbet dy bobl Arglwydd daionus, arbet hwy, ac na ddycer dy etifeddiaeth i waradwydd: clyw nyni Arglwydd, canys mawr yw dy drugaredd, ac yn ôl lliaws dy drugareddau edrych arnom.

DIWEDD.






# Pſalmau

Dafydd o'r vn cy-
fieithiad a'r Beibl
cyffredin.

IACO.5.13.
*A oes neb yn eſmwyth arno?*
*caned Pſalmau.*

ANNO. 1599.








# Psalmau Dafydd.

Beatus vir qui non abijt. Psal.j.



Wyn ei fyd y gwr ni Boreuol
rodiodd yng-hyngor weddi.
yr annuwolion, ac
ni safodd yn ffordd
pechaduriaid, ac nid
eisteddodd yn eistedd-
fa gwatwar-wyr:
2 Onid bod ei e-
wyllys ef yng-hyfra-
ith yr Arglwydd: a
mefyrio o honaw yn
ei gyfraith ef ddydd
a nôs.
3 Canys efe a fydd fel prenn wedi ei blannu ar
lann dyfroedd, yr hwn a rydd ei ffrwyth yn ei brŷd:
a'i ddalen ni ŵywa, a pha beth bynnac a wnêl, efe
a lwydda.
4 Nid felly [y bydd] yr annuwiol, onid fel mân
us yr hwn a chwâl y gwynt ymmaith [oddi ar wy-
neb y ddaiar.]
5 Am hynny yr annuwolion ni safant yn y farn,
na'r pechaduriaid yng-hynnulleidfa y rhai cyfi-
awn.

6 Ca-

6 Canys yr Arglwydd a edwyn ffordd y rhai cy-
fiawn, a ffordd yr annuwolion a ddifethir.

Quare fremuerunt. Psal.ij.

PA ham y terfysca y cenhedloedd? ac y bwriâda y
bobloedd yn ofer?
2 Y mae brenhinoedd y ddaiar yn codi i fynu,
a'r pennaethiaid yn ymgynghori yng-hyd, yn erbyn
yr Arglwydd, ac yn erbyn ei Grist ef.
3 Drylliwn eu rhwymau hwy: a thaflwn eu
rheffynnau oddi wrthym.
4 Yr hwn sydd yn preswylio yn y nefoedd a
chwardd: yr Arglwydd a'u gwatwar hwynt.
5 Yna y llefara efe wrthynt yn ei lîd, ac yn ei
ddigllonrwydd y dychryna efe hwynt.
6 Minne a osodais fy Mrenin ar Sion fy my-
nydd sanctaidd.
7 Mynegaf y ddeddf yr hon a ddywedodd yr Ar-
glwydd wrthif: fy Mâb ydwyt ti, myfi heddyw a'th
genhedlais.
8 Gofyn i mi, a rhoddaf y cenhedloedd yn eti-
feddiaeth i ti: a therfynau y ddaiar i'th feddiant.
9 Briwi hwynt â gwialen haiarn, maluri hw-
ynt fel llestr pridd.
10 Gan hynny'r awr hon ô frenhinoedd bydd-
wch synhwyrol, barn-wŷr y ddaiar cymmerwch
ddysc.
11 Gwasanaethwch yr Arglwydd mewn ofn:
ac ymlawenhewch mewn dychryn.
12 Cusanwch y Mâb rhag iddo ddigio, a'ch di-
fetha chwi o'r ffordd, pan gynneuo ei lid ef ddim:
gwyn eu byd pawb a ymddyriedant ynddo ef.

Domine quid multiplicati sunt. Psal.iij.

ARglwydd mor aml yw fy nghaillodd-wŷr! lla-
wer sy yn codi i'm herbyn.

2 Llawer sy yn dywedyd am fy enaid, nid oes ie-
chydwriaeth iddo yn ei Dduw. Selah.
3 Tithe Arglwydd ydwyt darian i mi: fyng-ogo-
niant, a derchafudd fy mhenn.
4 A'm llef y gelwais ar yr Arglwydd, ac efe a'm
clybu o'i fynydd sanctaidd. Selah.
5 Mi a orweddais, ac a gyscais, ac a ddeffroais:
canys yr Arglwydd a'm cynhaliodd.
6 Nid ofnaf fyrddiwn o bobl: y rhai o amgylch a
ymosodasant i'm herbyn.
7 Cyfot Arglwydd, achub fi fy Nuw, canys tare-
waist fy holl elynnion ar garr yr ên: torraist ddan-
nedd yr annuwolion.
8 Iechydwriaeth sydd eiddo'r Arglwydd: dy fen-
dith sydd ar dy bobl. Selah.

Cum inuocarem. Psal. iiij.

Gwrando fi pan alwyf ô Dduw fyng-hyfiawnder,
mewn cyfyngder yr ehengaist arnaf: trugarhâ
wrthif, ac erglyw fyng-weddi.
2 O feibion dynion pa hŷd y troiwch fyng-ogo-
niant yn warth? yr hoffwch wêgi, ac yr argeisiwch
gelwydd? Selah.
3 Gwybyddwch hefyd i'r Arglwydd ethol y du-
wiol iddo ei hun: yr Arglwydd a wrendu pan alwyf
arno.
4 Ofnwch, ac na phechwch, meddyliwch yn eich
calon ar eich gwely, a thewch. Selah.
5 Aberthwch ebyrth cyfiawnder, a gobeithiwch
yn yr Arglwydd.
6 Llaweroedd sy yn dywedyd, pwy a ddengys i
ni ddaioni? Arglwydd dercha arnom lewyrch dy
wyneb.
7 Rhoddaist lawenydd yn fyng-halon, er pan yr

amlhâodd eu hŷd, a'u gwin a'u holew hwynt.
8 Mewn heddwch hefyd y gorweddaf, ac yr hu-
naf: canys ti Arglwydd yn unic a'm cyfleaist mewn
diogelwch.

Verba mea auribus percipe. Psal. v.

Gwrando fyng-eiriau Arglwydd: deall fy my-
fyrdod.
2 Erglyw ar lêf fyng-waedd, fy Mrenin, a'm
Duw: canys arnat y gweddiaf.
3 Yn foreu Arglwydd y clywi fy llêf: yn foreu y
cyfeiriaf attat, ac y disgwiliaf.
4 O herwydd nad wyt ti Dduw yn ewyllysio
anwiredd: y drwg ni thrig gyd â thi.
5 Ynfydion ni safant yn dy olwg: caseaist holl
weithred-wŷr anwiredd.
6 Difethi y rhai a ddywedant gelwydd: yr
Arglwydd a ffieiddia y gŵr gwaedlyd, a'r twyllo-
drus.
7 A minne a ddeuaf i'th dŷ di yn amlder dy dru-
garedd: ac a addolaf tu a'th Deml sanctaidd yn dy
ofn di.
8 Arglwydd arwain fi yn dy gyfiawnder o a-
chos fyng-elynnion: a gwastadhâ dy ffordd o'm
blaen.
9 Canys nid oes iniondeb yn eu genau, eu cen-
dod sydd lwgredigaeth, bedd agored yw eu gwddf
hwynt, gweniaithant â'u tafod.
10 Destruwia hwynt ô Dduw, syrthiant oddi
wrth eu cynghorion, gyrr ymmaith hwynt yn aml-
der eu camweddau: canys gwrthryfelâsant i'th er-
byn di.
11 A llawenhaed y rhai oll a ymddyriedant ynot,
yn dragywydd y canmolant, am i ti orchguddio
trostynt

trostynt hwy: a'r rhai a gârant dy enw a orfoleddant
ynot.
12 Canys ti Arglwydd a fendithi y cyfiawn : â
charedigrwydd megis tarian y coronî di ef.

Domine ne in furore. Psal. vj.



Arglwydd na cherydda fi yn dy li-
diawgrwydd, ac na chospa fi yn dy
lîd.
2 Trugarhâ wrthif Arglwydd,
canys llesc ydwyfi : iachâ fi ô Argl-
wydd, canys fy escyrn a gystuddi-
wyd.
3 A'm henaid a ddychrynwyd yn ddirfawr : tithe
Arglwydd pa hŷd i'm cystuddi?
4 Dychwel Arglwydd, gwaret fy enaid : iachâ
fi er mwyn dy drugaredd.
5 Canys yn angeu nid oes goffa am danat : yn y
bêdd pwy a'th fawl?
6 Deffygiais gan fy ochain, pob nos yr ydwyf yn
gwneuthur fyng-wely yn foddfa : yr ydwyfi yn gwl-
ychu fyng-orweddfa â'm dagrau.
7 Tywyllodd fy llygad gan ddigter : heneiddi-
odd o herwydd fy holl elynnion.
8 Ciliwch oddi wrthif holl weithred-wyr an-
wiredd : canys yr Arglwydd a glywodd lêf fy wy-
lofain.
9 Clybu'r Arglwydd fy neisyfiad : yr Arglwydd
a dderbyn fyng-weddi.
10 Fy holl elynnion a wradwyddir, ac a drallo-
dir yn ddirfawr : dychwelir, a chywilyddir hwynt
yn ddisymmwth.

Pryd-nhawnol weddi.

Domine Deus in te ſperaui. Pſal. vij.

ARglwydd fy Nuw, ynot yr ymddyriedais: achub
fi rhag fy holl erlid-wŷr, a gwaret fi.
2 Rhag iddo larpio fy enaid fel llew: gan ei rwy-
go, pryd na byddo gwaredudd.
3 Fy Arglwydd Dduw os gwneuthum hyn, od
oes anwiredd yn fy nwylaw:
4 O thêlais ddrwg i'r neb oedd heddychol â mi:
oni waredais y rhai a'm gwrthwynebent heb a-
chos:
5 Erlidied y gelyn fy enaid, a goddiwedded fi: sa-
thred hefyd fy mywyd i'r llawr, a gosoded fyng-ogo-
niant i drigo yn y llŵch. Selah.
6 Cyfot Arglwydd yn dy ddigllonedd, ymdder-
cha o herwydd llid fyng-elynnion: deffro hefyd dro-
sof yn y farn a orchymynnaist.
7 Felly cynnulleidfa y bobloedd ath amgylchy-
nant: er eu mwyn dychwel dithe i'r uchelder.
8 Yr Arglwydd a farn y bobloedd: barna di fi ô
Arglwydd yn ôl fyng-hyfiawnder, ac yn ôl fy mher-
ffeithrwydd sydd ynof.
9 Darfydded weithian anwiredd yr annuwoli-
on, eithr cyfarwydda di y cyfiawn: canys y Duw
cyfiawn a chwilia y calonnau, a'r arennau.
10 Fy amddeffyn sydd yn Nuw, iachawdur y
rhai iniawn o galon.
11 Duw sydd farnudd cyfiawn, a Duw sydd
ddigllon beunydd wrth yr annuwiol.
12 Oni ddychwel yr annuwiol, efe a hôga ei
gleddyf, efe a annelodd ei fŵa, ac a'i paratôdd.
13 Paratôdd efe hefyd iddo arfau anghefol, efe a
weithiodd ei saethau yn erbyn yr erlid-wŷr.
14 Wele efe a ymddwg anwiredd, canys bei-
chiogodd ar gamwedd, ac efe a escor ar gelwydd.
15 Cloddiodd bwll, trychodd ef, syrthiodd hefyd
yn

yn y destruw a wnaethe efe.
16 Ei anwiredd a ymchwel ar ei ben ef ei hun:
a'i gamwedd a ddescyn ar ei goppa ei hun.
17 Clodforaf yr Arglwydd yn ôl ei gyfiawnder: a
chan-molaf enw 'r Arglwydd goruchaf.

Domine Dominus noster. Psal. viij.

ARglwydd ein Iôr ni, mor ardderchog yw dy enw
yn yr holl fyd! yr hwn a roddaist dy ogoniant
uwch y nefoedd.
2 O enau bechgyn, a rhai yn sugno y peraist
nerth o achos dy elynion: i ostegu y gelyn, a'r ym-
ddialudd.
3 Pan edrychwyf ar y nefoedd gwaith dy fysedd,
sef y lloer a'r sêr y rhai a ordeiniaist,
4 Pa beth yw dŷn i ti iw goffau? a mab dŷn i ti
i ymweled ag ef?
5 Gwnaethost ef ychydig îs nâ'r angelion: corô-
naist ef hefyd â gogoniant, ac â phrydferthwch.
6 Gwnaethost ef i arglwyddiaethu ar weithre-
doedd dy ddwylo: gosodaist bôb peth dann ei draed
ef.
7 Defaid, ac ychen oll, ac anifeiliaid y maes he-
fyd:
8 Ehediaid y nefoedd, a physc y môr: y rhai a y-
dynt yn tramwyo llwybrau y moroedd.
9 Arglwydd ein Iôr mor ardderchog yw dy enw
yn yr holl fydd.

Confitebor tibi Domine. Psal. ix.


Lodforaf yr Arglwydd â'm holl galon: Boreuol
mynegaf dy holl ryfeddodau. weddi.
2 Llawenychaf, a gorfoleddaf ynot:
canaf i'th enw di y Goruchaf.
3 Tra y dychwelir fyng-elynnion yn

eu hôl, y llithrant, ac y difethir hwynt o'th flaen di.
4 Canys gwnaethost fy marn a'm matter yn dda:
eisteddaist ar orsedd-faingc ô farnudd cyfiawn.
5 Ceryddaist y cenhedloedd, destruwiaist yr annu-
wiol: eu henw hwynt a ddelêaist hefyd byth bythol.
6 Hâ elyn, darfu am ddinistr yn dragywydd, di-
wreiddiaist y dinasoedd, darfu eu coffadwriaeth gyd
â hwynt.
7 Yr Arglwydd a erys yn dragywydd: efe a bara-
tôdd ei orsedd-faingc i farn.
8 Canys efe a farn y bŷd mewn cyfiawnder: efe a
farn y bobloedd mewn iniondeb.
9 Yr Arglwydd hefyd fydd amddeffyn i'r truan, a
nawddfa mewn prŷd, sef mewn cyfyngder.
10 A'r rhai a adwaenant dy enw a ymddyriedant
ynot: canys ni adewaist ô Arglwydd y rhai a'th gei-
sient.
11 Cannolwch yr Arglwydd yr hwn sydd yn pre-
sswylio yn Sion: a mynegwch i'r bobloedd ei wei-
thredoedd ef.
12 Canys pan ymofynno efe am waed, y cofia efe
am danynt: ac nid anghofia waedd y tlodion.
13 Trugarhâ wrthif Arglwydd, fy nerchafudd
o byrth angeu: gwêl fy mlinder gan fyng-haseion.
14 Fel y mynegwyf dy holl foliant ym-mhyrth
merch Sion: ac y llawenychwyf yn dy iechydwria-
eth.
15 Y cenhedloedd a soddasant yn y ffôs yr hon a
wnaethant: yn y rhwyd a guddiasant, y daliwyd eu
troed hwynt.
16 Adweinir yr Arglwydd, canys efe a wnaeth
farn: yr annuwiol a faglwyd yng-weithredoedd ei
ddwylo. Higaion Selah.
17 Y rhai drygionus a ymchwelant i uffern: sef
yr holl genhedloedd a anghofiant Dduw.

18 Canys nid anghofir y tlawd byth, gobaith y
truenaid ni chollir byth.
19 Cyfot Arglwydd, na orfydded dŷn: barner y
cenhedloedd ger dy fron di.
20 Gosot Arglwydd ofn arnynt, gŵybydded y
cenhedloedd mai dynion ydynt hwy. Selah.

Vt quid Domine recessisti. Psal.x.

PA ham Arglwydd y sefi o bell, yr ymguddi yn yr
amseroedd pan ydym mewn cyfyng-der?
2 Yr annuwiol mewn balchder a erlid y tlawd:
dalier hwynt yn y dichellion a ddychymmyga-
sant.
3 Canys yr annuwiol a ffrostiodd wrth ewyllys
ei galon: a'r cybydd a ymfendithiodd: dirmygu y mae
efe yr Arglwydd.
4 Yr annuwiol gan ei falchder ni chais Dduw:
nid ydyw Duw yn ei holl feddyliau ef.
5 Ei ffyrdd ef ydynt flin bôb amser, uchel yw dy
farnedigaethau o'i olwg ef: efe a chwyth yn erbyn ei
holl elynnion.
6 Dywedodd yn ei galon ni'm symmudir, o her-
wydd ni byddaf mewn drwg-fyd hyd genhedlaeth, a
chenhedlaeth.
7 Ei enau sydd yn llawn melldith, a dichell, a
thwyll: tann ei dafod y mae camwedd, ac anwi-
redd.
8 Y mae efe yn eistedd yng-hynllwynfa yr heo-
lydd, mewn cilfacheu y lladd efe y gwirion: ei lygaid
a dremmiant ar y tlâwd.
9 Efe a gynllwyna mewn dirgelwch megis llew
yn ei ffau, bwriadu y bydd i dreisio yr tlawd: treisia
efe y tlawd gan ei dynnu i'w rwyd.
10 Efe a ymgystuddia, ac a ymostwng: fel y cw-

ympo tyrfa trueniaid ym mysc ei gedyrn ef.
11 Dywedodd yn ei galon, anghofiodd Duw:
cuddiodd ei wyneb, ni wêl efe byth.
12 Cyfot Arglwydd Dduw, dercha dy law: nac
anghofia y tlodion.
13 Pa ham y cabla'r annuwiol Dduw? gan ddy-
wedyd yn ei galon, nad ymofynni.
14 Gwelaist hyn, canys ti a genfyddi anwiredd,
a cham, i roddi tâl a'th ddwylo dy hun: arnat ti y ge-
du y tlawd ei obaith, ti ydwyt gynnorthwy-wr yr
ymddifad.
15 Torr fraich yr annuwiol, a'r drygionus: cais
ei ddrygioni ef, ac nis cei.
16 Yr Arglwydd sydd Frenin byth, ac yn dragy-
wydd: dinistriwyd y cenhedloedd o'i dîr ef.
17 Arglwydd clywaist ddymuniad y tlodion, cy-
weiria di eu calon hwynt: gwrandawed dy glust
arnynt.
18 I farnu yr ymddifad a'r tlawd: fel na chwa-
nego dŷn daiarol beri ofn mwyach.

In Domino confido. Psal. xj.

YN yr Arglwydd yr ydwyf yn ymddyried, pa fodd
y dywedwch wrth fy enaid, eheda i'ch mynydd
fel aderyn?
2 Canys wele y drygionus a anelâsant fwa, pa-
ratoâsant eu saetheu ar llinin, i saethu mewn
dirgelwch y rhai iniawn o galon.
3 Canys y seiliau a ddinistriwyd: pa beth a wna-
eth y cyfiawn?
4 Yr Arglwydd sydd yn Nheml ei sancteiddrw-
ydd, gorseddfa yr Arglwydd sydd yn y nefoedd, y mae
ei lygaid ef yn gweled y tlawd: ei amrantau yn
chwilio meibion dynnion.
5 Yr Arglwydd a brawf y cyfiawn: eithr câs gan
ei

ei enaid ef y drygionus, a'r hwn sydd hoff ganddo
anwiredd.
6 Ar yr annuwolion y glawia efe faglau, tân, â
brwmstan, a gwynt ystormus sydd rhan eu phiol
hwy.
7 Canys yr Arglwydd cyfiawn a gâr gyfiawn-
der: ai wyneb a genfydd y rhai iniawn.

Saluum me fac Domine. Psal.xij.


Chub Arglwydd, canys darfu y Pryd-
rhai trugarog: o herwydd pallodd nhawnol
y ffyddloniaid o blith meibion dyn- weddi.
nion.
2 Ofêredd a ddywedant bôb vn
wrth ei gymmydog, â gwefus wen-
hieithgar: ac â chalon ddau ddyblyg y llefârant.
3 Torred yr Arglwydd yr holl wefusau gwen-
hieithus, a'r tafod a ddywedo fawrhydri.
4 Y rhai a ddywedant â'n tafod y gorfyddwn:
nyni a allwn ddywedyd a fynnom, pwy sydd Argl-
wydd arnom ni?
5 O herwydd anrhaith y rhai cystuddiedic, ac o
herwydd vchenaid y tlodion, y cyfodaf yn awr medd
yr Arglwydd: rhoddaf mewn iechydwriaeth yr hwn
y magler iddo.
6 Geiriau yr Arglwydd ydynt eiriau purion,
fel arian wedi ei goethi mewn ffwrn bridd, wedi ei
buro seith-waith.
7 Ti Arglwydd a'u cedwi hwynt: cedwi hwynt
rhag y genhedlaeth hon yn dragywydd.
8 Yr annuwolion a rodiant o amgylch: pan
eu derchefir gwarth fydd i feibion dynnion.

Vsquequo Domine obliuiſceris. Pſal. xiij.

PA hyd Arglwydd i'm anghofi? ai yn dragywydd?
pa hyd y cuddi dy wyneb rhagof?

2 Pa

2 Pa hyd y gosodaf gynghorion yn fy meddwl,
a blinder beunydd yn fyng-halon? pa hyd y derche-
fir fyng-elyn arnaf?
3 Edrych, a chlyw fi ô Arglwydd fy Nuw: go-
leua fy llygaid rhag i'm hûno yn yr angeu.
4 Rhag dywedyd o'm gelyn, gorchfygais ef:
canys fyng-wrthwyneb-wŷr a lawenychant os lli-
thraf.
5 Minne hefyd a ymddyriedais yn dy druga-
redd di, fyng-halon a ymlawenycha yn dy iechyd-
wriaeth: canaf i'r Arglwydd, am iddo synnio arnaf,
îe mi a ganaf i'r Arglwydd goruchaf.

Dixit insipiens in corde suo. Psal. xiiij.

YR ynfyd a ddywedodd yn ei galon, nid oes vn
Duw: ymlygrâsant, a ffieidd-waith a wnae-
thant: nid oes a wnêl ddaioni.
2 Yr Arglwydd a edrychodd o'r nefoedd ar feibi-
on dynnion, i weled a oedd neb deallgar yn ymgei-
sio â Duw.
3 Ciliodd pawb, cŷd-ymddifwynâsant, nid oes
a wnêl ddaioni, nac oes vn.
4 Bedd agored yw eu gwddf, â i tafodau y siom-
ment: gwenwyn lindis y sydd dann eu gwefusau.
5 Eu genau sydd yn llawn o felldith, a chwer-
wedd: eu traed sy fuan i dywallt gwaed.
6 Destruw, ac anhap sydd ar eu ffyrdd, a ffordd
tangneddyf nid adnabûant: nid oes ofn Duw yn eu
golwg.
7 Oni wŷr holl weithred-wŷr anwiredd, eu bod
yn bwytta fy mhobl fel y bwyttaent fara? ni alwâ-
sant ar yr Aglwydd.
8 Yno y dechrynant gan ofn lle nid oedd ofn,
am fod Duw yng-henhedlaeth y cyfiawn.
9 Cyngor y tlawd a wradwyddech chwi, am
fod yr Arglwydd yn obaith iddo.

Pwy

10 Pwy a ddyru iechyd i Israel o Sion? pan
ddychwel yr Arglwydd gaethiwed ei bobl, yr hyfry-
da Jacob, ac y llawenhâ Israel.

Domine quis habitabit. Psal. xv.

Arglwydd pwy a drîg yn dy babell: Boreuol
pwy a breswylia ym mynydd dy sanc- weddi.
teiddrwydd?
2 Yr hwn a rodia yn berffaith,
ac a wnêl gyfiawnder, ac a ddyweid
wîr o'i galon:
3 Heb absennu â'i dafod: heb wneuthur drwg iw
gyfell, ac heb dderbyn enllib yn erbyn ei gymmydog.
4 Yr hwn sydd ddirmygus a diystyr yn ei olwg ei
hun, ac a anrhydedda y rhai a ofnant yr Argl-
wydd: yr hwn os twng, (ie iw niwed ei hun) etto ni
newidia.
5 Yr hwn ni roddes ei arian ar usuriaeth, ac ni
chymmer obr yn erbyn y gwirion: a wnêlo hyn ni
lithr yn dragywydd.

Conserua me Domine. Psal. xvj.

Cadw fi ô Dduw, canys ynot yr ymddyriedais.
2 Fy enaid, dywedaist wrth yr Arglwydd, fy
Arglwydd ydwyt ti: fy nâ nid yw ddim i ti.
3 Ar y sainct y rhai ydynt ar y ddaiar, a'r rhai
rhagorawl, y mae fy holl ewyllys.
4 Gofidiau a amlhânt i'r rhai a fryssiant ar ôl
duw dieithr, eu diod offrwm o waed ni offrymmaf
fi: ac ni chymmeraf eu henwau yn fyng-wefusau.
5 Yr Arglwydd yw rhann fy etifeddiaeth a'm
phiol: ti a gynheli fyng-hoelbren i.
6 Etifeddiaeth a syrthiodd i mi mewn lleoedd
hyfryd: ac y mae i mi etifeddiaeth dêg.
7 Bendithiaf yr Arglwydd yr hwn a'm cynghô-
rodd: fy arennau hefyd a'm dyscant drwy'r nôs.

8 Goso-

8 Gosodais yr Arglwydd bôb amser ger fy mron:
canys y mae efe ar fy neheu-law fel na lithraf.
9 O herwydd hynny y llawenychodd fyng-ha-
lon, ac yr ymhyfrydodd fyng-ogoniant: fyng-hnawd
hefyd a orphywys mewn gobaith.
10 Canys, ni adêwi fy enaid yn uffern, ac ni ade-
wi i'th Sanct weled llwgredigaeth.
11 Dangosi i mi lwybr bywyd: digonolrwydd
llawenydd sydd ger dy fron: ar dy ddeheu-law y mae
digrifwch yn dragywydd.

Exaudi Domine iustitiam. Psal. xvij.

CLyw Arglwydd gyfiawnder: ystyria fy llefain,
gwrando fyng-weddi o wefusau didwyll.
2 Deued fy marn oddi ger dy fron, edryched dy
lygaid ar uniondeb.
3 Profaist fyng-halon, gofwyaist fi y nôs, chwi-
liaist fi, ni chefaist ynof anwiredd: bwriêdais na
throsedde fyng-enau.
4 Tu ag at am weithredoedd dynnion, wrth eiri-
au dy wefusau yr ymgedwais o lwybrau'r yspeiludd.
5 Cynnal fyng-herddediad yn dy lwybrau fel
na lithro fy nhraed.
6 Mi a elwais arnat, canys gwrandewi arna-
fi ô Dduw: gostwng dy glust attaf, ac erglyw fy ym-
adrodd.
7 Dangos dy ryfedd drugarêddau, ô achubudd
y rhai a ymddyriedant ynot, rhag y sawl a ymgy-
fodant yn erbyn dy ddeheu-law.
8 Cadw fi fel cannwyll llygad: cudd di fi dann
gyscod dy adenydd,
9 Rhag yr annuwolion y rhai a'm gorthrym-
ment: rhag fyng-elynion y rhai am yr enaid a am-
gylchant i'm herbyn.
10 Caeâsant gan eu brasder, a'u genau a lefa-
rant mewn balchder.

11 Ein cynniweirfa ni a gylchynâsant hwy yr
awr hon, gosodâsant eu llygaid i dynnu i'r ddaiar.
12 Eu dull sydd fel llew yr hwn a chwennyche
sclyfaethu, ac megis llew ieuangc yn aros mewn
lloches.
13 Cyfot Arglwydd, achub flaen iddo, a chwym-
pa ef: gwaret fy enaid rhag yr annuwiol yr hwn yw
dy gleddyf di.
14 Oh Arglwydd gwaret fi oddi wrth ddynnion
dy law, sef oddi wrth ddynnion y byd, y rhai y mae
eu rhann yn y bywyd ymma, ac yr ydwyt yn llenwi
eu boliau â'th guddiedic drysor: llawn ydynt o feibi-
on, a gadawant eu gweddill iw rhai bychain.
15 Mysi a edrychaf ar dy wyneb mewn cyfiawn-
der: pan ddihunwyf, digonir fi gan dy ddelw.

Diligam te Domine. Psal. xviij.



Caraf di Arglwydd fyng-hadernid.
2 Yr Arglwydd yw fyng-hraig, Pryd-
a'm hamddeffynfa, a'm gwaredudd, nhawnol
fy Nuw fyng-hadernid, ynddo ef yr weddi.
ymddyriedaf: fy nharian, a chorn fy
iechydwriaeth, a'm noddfa.
3 Galwaf ar yr Arglwydd canmoladwy: felly
i'm cedwir rhag fyng-elynnion.
4 Gofidion angeu a'm cylchynâsant: ac afonydd
y fall a'm dychrynnâsant i.
5 Gofidion uffern a'm gogylchynâsant: maglau
angeu a achubasant fy mlaen.
6 Yn fyng-hyfyngder y gelwais ar yr Arglwydd,
ac y gwaeddais ar fy Nuw: efe a glybu fy llef o'i
Deml, a'm gwaedd ger ei fron ef a ddaeth iw glu-
stiau ef.
7 Yna y cynhyrfodd, ac y crynodd y ddaiar, a sei-

liau y mynyddoedd a gyffroâsant: ac a ymsiglâsant,
am iddo ef ddigio.
8 Derchafodd mŵg o'i ffroenau, a thân a yssodd
o'i enau ef: glô a enynnâsant ganddo ef.
9 Efe hefyd a ostyngodd y nefoedd, ac a ddescyn-
nodd: a thywyllwch oedd tann ei draed ef.
10 Marchogodd efe hefyd ar y Cerub, ac a ehe-
dodd: îe efe a ehedodd ar adenydd y gwynt.
11 Efe a osododd y tywyllwch yn ddirgelfa iddo
ef, a'i babell oi amgylch: sef tywyllwch y dyfroedd, a
chwmylau yr awyr.
12 Gan y discleirdeb yr hwn sydd ger ei fron ef, ei
gwmylau a aethant heibio: cenllysc a marwor tan-
llyd.
13 Yr Arglwydd hefyd a darânodd yn y nefoedd:
a'r Goruchaf a roddes ei lef: cenllysc a marwor
tanllyd.
14 Anfonodd hefyd ei saethau, a gwascârodd hw-
ynt: amlhâodd hefyd ei fellt, a dinistriodd hwynt.
15 Gwaelodion y dyfroedd a welwyd, a seiliau
y bŷd a ddinoethwyd gan dy gerydd di ô Arglwydd,
a chan chwythad anadl dy ffroenau di.
16 Anfonodd oddi vchod, cymmerodd fi, a thyn-
nodd fi o ddyfroedd lawer.
17 Efe a'm gwaredodd oddi wrth fyng-elyn ca-
darn, a rhag fyng-haseion: canys y maent yn drech
nâ mi.
18 Achubâsant fy mlaen yn nydd fyng-ofid: ond
yr Arglwydd oedd yn gynhaliad i mi.
19 Dûg fi i ehangder, gwaredodd fi: canys ym-
hoffodd ynof.
20 Yr Arglwydd a'm gobrwya yn ôl fyng-hyfi-
awnder: yn ôl glendid fy nwylo y tâl efe i mi.
21 Canys cedwais ffyrdd yr Arglwydd: ac ni w-
neuthum yn annuwiol yn erbyn fy Nuw.

22 O herwydd ei holl farnedigaethau ef ydynt
ger fy mron i: a'i ddeddfau ni fwriais oddi wrthif.
23 Bum hefyd yn berffaith gyd ag ef: ac ymged-
wais rhag fy anwiredd.
24 A'r Arglwydd a'm gobrwyodd yn ôl fyngyfi-
awnder: ac yn ôl purdeb fy nwylo o flaen ei lygaid ef.
25 A'r trugarog y gwnei drugaredd: â'r gŵr
perffaith y gwnei berffeithrwydd.
26 A'r glan, y gwnei lendid: ac â'r cyndyn yr
ymgyndynni.
27 Canys ti a warêdi y bobl gystuddiedic: ac a
ostyngi olygon uchel.
28 O herwydd ti a oleui fyng-hannwyll: yr
Arglwydd fy Nuw a lewyrcha fy-nhywyllwch.
29 O blegit ynot ti y rhedaf trwy fyddin: ie yn
fy Nuw y llammaf dros fûr.
30 Duw sydd berffaith ei ffordd, gair yr Arglwydd
sydd buredic: tarian yw efe i bawb a ymddyriedant
ynddo.
31 Canys pwy sydd Dduw heb-law yr Argl-
wydd? a phwy sydd graig eithr ein Duw ni?
32 Duw a'm gwregyssodd â nerth: ac a roddes
fy ffordd yn berffaith.
33 Gosod y mae efe fy nhraed fel traed ewigod: ac
ar fy uchel-fannau i'm sefydlodd.
34 Efe sy yn dyscu fy nwylo i ryfel: fel y dryllid
bŵa dûr yn fy mreichiau.
35 Rhoddaist hefyd i mi darian dy iechydwria-
eth, a'th ddeheu-law a'm cynhaliodd: a'th fwynder
a'm lluosogodd.
36 Ehengaist fyng-herddediad tanaf: fel na li-
throdd fy sodlau.
37 Erlidiais fyng-elynion, ac a'u goddiweddais:
ac ni ddychwelais nes i mi eu difa hwynt.
38 Archollais hwy fel na allent sefyll: syrthia-
sant

sant dann fy nhraed.
39 Canys gwregysaist fi â nerth i ryfel: cwym-
paist tanaf y rhai a ymgododd i'm herbyn.
40 Rhoddaist hefyd i mi warrau fyng-elynnion:
fel y dyfethwn fyng-haseion.
41 Gwaeddâsant, ac nid oedd achubudd: sef ar yr
Arglwydd, ond nid attebodd efe hwynt.
42 Maluriais hwynt hefyd fel llŵch o flaen y
gwynt: melais hwynt megis prîdd yr heolydd.
43 Gwarêdaist fi rhag cynhennau y bobl, goso-
daist fi yn ben cenhedloedd: pobl ni's adnabum a'm
gwasanaethent.
44 Pan glywant, gwrandawant arnaf: meibion
dieithr a gymmerant arnynt ymddarostwng i mi.
45 Meibion dieithr a ballant: ac a ddychrynant
o'u carchârau.
46 Byw fyddo 'r Arglwydd, a bendithier fyng-
hraig: a derchafer Duw fy iechydwriaeth.
47 Duw sydd yn rhoddi i mi allu ymddial: ac a
dywys y bobloedd tanaf fi.
48 Fyng-waredudd oddi wrth fyng-elynnion yd-
wyt: canys ti a'm derchefaist hefyd oddi wrth y rhai
a gyfodent i'm herbyn: achubaist fi rhag y gŵr
traws.
49 Am hynny y moliannaf di ô Arglwydd ym
mhlith y cenhedloedd: ac y cânaf i'th enw.
50 Efe sydd yn mawrhau iechydwriaeth ei fre-
nin, ac yn gwneuthur trugâredd iw eneiniog, i
Ddafydd, ac iw hâd ef byth.

Cœli enarrant. Psal. xix.

Boreuol weddi.


Nefoedd sy yn dadcanu gogoniant Duw:
a'r ffurfafen sy yn mynegu gwaith ei
ddwy-law ef.
2 Dydd i ddydd a draetha ymadrodd:
a nôs

a nôs i nos a ddengys wybodaeth.
3 Nid oes air nac ymadrodd, lle ni chlywyd eu
llefer ydd hwynt.
4 I bob tir yr aeth eu sain hwynt, ai geiriau hyd
eithafoedd byd: i'r haul y gosododd efe babell yn-
ddynt.
5 Ac efe fel gŵr priod a ddaw allan o'i stafell: ac
a ymlawenhâ fel cawr yn rhedeg gyrfa.
6 O eithaf y nefoedd y mae ei fynediad ef allan,
a'i amgylchiad hyd eu heithafoedd hwynt: ac nid
ymgudd dim oddi wrth ei wres ef.
7 Cyfraith yr Arglwydd sydd berffaith yn troi yr
enaid: testiolaeth yr Arglwydd sydd sicr, ac yn
peri doethineb i'r ehud.
8 Deddfau yr Arglwydd ydynt iniawn yn llaw-
enhaû y galon: gorchymyn yr Arglwydd sydd bûr,
ac yn goleuo y llygaid.
9 Ofn yr Arglwydd sydd lân, ac yn parhau yn
dragywydd: barnau'r Arglwydd ydynt wirionedd,
cyfiawn ydynt eu gyd.
10 Mwy dymunol ynt nag aur, ie nag aur coeth
lawer: melysach hefyd nâ'r mêl, ac nâ diferiad di-
liau mêl.
11 Ynddynt hwy hefyd y dyscir dy wâs: o'u cadw
y mae gobr lawer.
12 Pwy a ddeall ei gamweddau? glanhâ fi oddi
wrth fy meiau cuddiedic:
13 Attal hefyd dy wâs oddi-wrth bechodau
rhyfygus, na arglwyddiaethant arnaf: yna i'm
perffeithir, ac i'm glanheir oddi-wrth anwiredd
lawer.
14 Bydded ymadroddion fyng-enau, a myfyrdod
fyng-halon yn gymmeradwy ger dy fron, ô Arglw-
ydd fyng-hraig, a'm gwaredudd.

Exaudiat te Dominus. Psal.xx.

GWrandawed yr Arglwydd arnat yn nydd cy-
fyngder: enw Duw Jacob a'th ddeffynno.
2 Anfoned i ti gymmorth o'r cyssegr: a nerthed di
o Sion.
3 Cofied dy holl offrymmau: a bydded fodlon i'th
boeth offrwm. Selah.
4 Rhodded i ti wrth fodd dy galon: a chyflawned
dy holl arfaeth.
5 Gorfoleddwn yn dy iechydwriaeth di, a dercha-
fwn faner yn enw ein Duw: cyflawned yr Arglw-
ydd dy holl ddymuniadau.
6 Yr awr hon y gwn y gwared yr Arglwydd ei
eneiniog, ac y gwrendu arno ef o nefoedd ei sancte-
iddrwydd, yn nerth iechyd ei ddeheu-law ef.
7 Ymddyried rhai mewn cerbydau, ac eraill
mewn meirch: ond nyni a gofiwn enw yr Arglw-
ydd ein Duw.
8 Hwynt a gwympasant, ac a syrthiasant: a
ninneu a gyfodasom, ac a safasom.
9 Cadw Arglwydd: gwrandawed y Brenin ar-
nom yn y dydd y llefom.

Domine in virtute tua. Psal.xxj.

ARglwydd yn dy nerth y llawenycha y brenin:
ac yn dy iechydwriaeth yr ymhyfryda efe yn
ddirfawr.
2 Deisyfiad ei galon a roddaist iddo: a dymuniad
ei wefusau ni's gommeddaist. Selah.
3 Canys achubaist ei flaen ef â bendithion daio-
ni: gosodaist ar ei ben ef goron o aur coeth.
4 Gofynnodd oes gennit: a rhoddaist iddo hir-oes
byth ac yn dragywydd.
5 Mawr yw ei ogoniant yn dy iechydwriaeth:
gosodi arno ogoniant a phrydferthwch.
6 Canys gosodi ef yn fendithion tragywyddol,
llawenychi

llawenychi ef â llawenydd dy wyneb.
7 O herwydd bod y brenin yn ymddyried yn yr
Arglwydd, ac yn-hrugaredd y Goruchaf ni lithr efe.
8 Dy law a gaiff allan dy holl elynnion: dy dde-
heulaw a gaiff allan dy gaseion.
9 Gosodi hwynt fel ffwrn danllyd yn amser dy
lid: yr Arglwydd yn ei ddigllonedd a'u difa hwynt,
a'r tân a'u hyssa hwynt.
10 Eu ffrwyth hwynt a ddinistri di oddi-ar y
ddaiar: a'i hâd o blith meibion dynnion.
11 Canys bwriadasant ddrwg i'th erbyn: me-
ddyliasant amcan heb allu o honynt ei gwplâu.
12 Canys gosodi hwy ar naill du: yn dy linynnau
y paratoi saethau yn erbyn eu hwynebau.
13 Ymddercha Arglwydd yn dy nerth: canwn,
a chan-molwn dy gadernid.

Deus, Deus meus. Psal. xxij.


Ey Duw, fy Duw, pa ham i'm gadewaist? pell ydwyt oddi wrth fy iechydwriaeth, a geiriau fy llefain. Prydnhawnol weddi.
2 Fy Duw llefain yr ydwyf y dydd, ac
ni atebi: y nôs hefyd, ac nid oes osteg i mi.
3 A thithe moliant Israel ydwyt yn parhau yn
sanctaidd.
4 Ein tadau a obeithiâsant ynot: gobeithiasant,
a gwaredaist hwynt.
5 Arnat ti y llefâsant, ac achubwyd hwynt: ynot
yr ymddyriedâsant, ac ni's gwradwyddwyd hwynt.
6 A minne ydwyf fel pryf, ac nid gŵr gwar-
thrudd dynnion, a dirmyg y bobl.
7 Pawb a'r a'm gwêlant a'm gwatwârant:
llaesant wefl, ac escydwant hennau gan ddywedyd,
8 Ymddyriedodd yn yr Arglwydd, gwareded ef:
 achubed

achubed ef, gan ei fod yn dda ganddo.
9 Canys ti a'm tynnaist o'r grôth: gwnaethost i
mi obeithio pan oeddwn ar fronnau fy mam.
10 Arnat ti i'm bwriwyd o'r brû: ô groth fy mam
fy Nuw ydwyt.
11 Nac ymbellhâ di oddi wrthif, ô herwydd cy-
fyngder sydd agos: ac nid oes gynnorthwy-wr.
12 Bustych lawer a'm cylchynâsant: gwrdd
deirw Basan a'm hamgylchâsant.
13 Agorasant arnaf eu gênau: fell llew rhei-
pus, a rhuadwy.
14 Fel dwfr i'm tywalltwyd, a'm hescyrn oll a
ymwahanâsant: fyng-halon sydd doddedic fel cŵyr
yng-hanol fy mherfedd.
15 Fy nerth a ŵywodd fel priddlestr, a'm tafod a
lŷnodd wrth daflod fyng-enau: ac yn llŵch angeu
i'm cyfleaist.
16 Canys cŵn a'm cylchynâsant, a chynnulleidfa
y drygionus a'm hamgylchynâsant: cloddiasant fy
nwylaw a'm traed.
17 Gallaf gyfrif fy holl escyrn: y maent yn trem-
mio, ac yn edrych arnaf fi.
18 Y maent yn rhannu fy nillad yn eu mysc: ac
ar fyng-wisc y maent yn bwrw coel-bren.
19 A thithe Arglwydd nac ymbellhâ: fynghader-
nid brysia i'm cynnorthwyo.
20 Gwaret fy enaid rhag y cleddyf: fy unic enaid
o feddiant y ci.
21 Achub fi rhag safn y llew: o blith cyrn unicor-
niaid atteb fi.
22 Mynegaf dy enw i'm brodyr: yng-hanol y
gynnulleidfa i'th folaf.
23 Y rhai sy yn ofni'r Arglwydd molwch ef,
holl hâd Iacob gogoneddwch ef: holl hâd Israel
ofnwch ef.

24 Canys

24 Canys ni ddirmygodd, ac ni ffieiddiodd gystudd
y tlawd, ac ni chuddiodd ei wyneb rhagddo: ond pan
lefodd efe arno y gwrandawodd ef.
25 Fy mawl fydd o honot ti yn y gynnulleidfa
fawr: fy addunedau a dâlaf ger bron y rhai ai hof-
nant ef.
26 Y tlodion a fwyttânt, ac a ddiwellir, y rhai a
geisiant yr Arglwydd a'i moliannant ef: eich calon
fydd byw yn dragywydd.
27 Holl derfynau y ddaiar a gofiant, ac a ddychwe-
lant at yr Arglwydd: a holl dylwythau y cenhed-
loedd a addôlant ger dy fron di.
28 Canys eiddo 'r Arglwydd yw 'r deyrnas: ac
efe sydd yn llywodraethu ym mhlith y cenhedloedd.
29 Yr holl rai breision ar y ddaiar a fwyttânt,
ac a addôlant: y rhai a ddescynnant i'r llwch a
gwympant ger ei fron ef: hyd yn oed yr hwn ni
fywhâ ei enaid.
30 Eu hâd a'i gwasanaetha ef: cyfrifir ef i'r Ar-
glwydd yn genhedlaeth.
31 Deuant, ac adroddant ei gyfiawnder ef i'r
bobl a enir: gan iddo ef eu gwneuthur.

Dominus regit me & nihil. Psal.xxiij.

YR Arglwydd yw fy mugail: ni bydd eisieu arnaf.
2 Efe a bar i'm orwedd mewn porfeudd gwell-
toc: efe a'm tywys ger llaw dyfroedd tawel.
3 Efe a ddychwel fy enaid, ac a'm harwain ar
hŷd llwybrau cyfiawnder er mwyn ei enw.
4 A phe rhodiwn ar hŷd glynn cyscod angeu nid
ofnaf niwed, o herwydd dy fod ti gyd â mi: dy wia-
len, a'th ffon a'm cyssûrant.
5 Ti a arlwyi fort ger fy mron yn erbyn fyng-
wrthwyneb-wŷr: iraist fy mhen ag olew, fy phiol
sydd lawn.
6 Daioni, a thrugâredd yn ddiau a'm canlynant

